# Adroddiad Cywir,

O'r

Pethau pennaf, ar a wnaeth, ac a ddwedodd

# Yſpryd Aflan,

YM

## MASCON yn BURGUNDY;

Yn Nhŷ un

## Mr. FRANCIS PEREAUD,

Gweinidog EGLWYS y Proteſtantiaid yn y DREF honno:

---

A Oſſodwyd allan yn *Frangaeg* gantho ef ei hun; a chwedi hynny yn *Saeſoneg*, gan un ac oedd a gwybodaeth neillduol ynghylch y Stori hon:

---

Ac yn awr wedi ei gyfieithu yn *Gymraeg*, gan *S. H.* o *Abertawe*.

---

Ai Brintio yn Lundain gan *T. S*, yn y flwyddyn. 1681.

*I'm Parchedig a'm Dyscedig Ffrind*,

# *Doctor* Peter Du *Moulin*.

*Syr*,

ER fy môd yn tybied yr edrychwch ar fyng waith yn danfon attoch Lyfr ffrangeg Mr. *Pereaud*, megis Peth ich dwyn ar gôf am yr Addewid ddiweddar y ryngodd bódd i chwi ei gwneuthur i mi, ynghylch ei offod ef mewn Gwisc saisnig: Etto 'rwi 'n gobeithio, y gwnewch chwi y cyfiawnder hynny i mi, ac y credwch, oni bae bod y matter yn anghyffredinol, ac oni bae bod fy llaw i (fel y gwyddoch chwi ei bôd hi) wedi ei rhagoffod at waith arall o nattur anghyffelyb iawn, Myfi a'i tybygswn e'nGam irDeyrnas, ac i chwithe, i fôd yn un math o Achos, i wneuthur hwnnw yn Gyfieithwr o Lyfrau rhai eraill, ac a eglurodd eisioes mewn amryw ieithoedd, mor abl y mae fo, i scrifennu rhai godidog o'i waith ei hun.

Rhaid i mi gyfaddef yn rhwydd i chwi, fod y gogwyddiadau nerthol, y rhai y mae dull fy mywyd, a'r Ddysc y mae fy mryd arni, gwedi weithio ynof i wanngredu, ac i fod yn llêsg i goelio; a'r amryw ddychmygion twyllodrus, a'r ofer-goelion, y rhai (ir gore o'm daliad fulw hyd yn hyn) ydynt arferol i ddiwyno y storiau ynghylch Yspryddion a Dewinessau neu witshod, Rhaid i mi gyfaddef meddafi, fod y Gogwyddiadau, y Dychmygion, ar ofer-goelion hyn yn Bethau, ac a allent beri i mi fod yn dra hwyrfrydig, i roddi dim help, nac ich gwaith chwi yn goffod allan, nac i grediniaeth undyn o stori llai rhyfeddol nâ'r hon a offodwyd allan gan Mr. *Pereaud*.

Eithr

Eithr fe ddarfu ir Gymdeithas y geſais i gyda'r Awdwr duwiol hwnnw, tra bûm i yn *Geneva*, a'r Anrheg y ryngodd bôdd iddo ddwyn i myſi o'r llyfr hwn mewn Scrifen, cyn ei brintio ef, mewn mann, lle yr oedd genni amſer cyfaddas i ymofyn, yn gyſtal ynghylch y ſcrifennydd, ac ynghylch rhai pethau yn y llyfr, fe ddarfu meddafi ir Gymdeithas hon, ar ymofyniad hyn, orchſygu ynofi ar y Diwedd (am y Traethawd hwn) fy holl anewyllysgarwch a'm ammhuedd i ſafadwy i gredu pethau dieithr.

A chan fy môd yn deall, i chwi dderbyn cyfrif, oddiwrth yr Yſgolhaig mawr a'r Gwr rhagorol hwnnw, eich Tâd, am Mr. *Perreaud* ei hunan, ac am lawer o bethau yn perthynu iw lyfr ef: nid oes genni reſwm i dybied llai, ond mai megis ac y dûg eich gwybodaeth chwi yn y ieithoedd, o'r hon ac ir hon y mae y Traethawd hwn i gael ei gyfieithu, yr uchelfraint fwyaf iddo, ac a allo ei dderbyn oddiwrth Law cyfieithydd; felly y Bydd y Bri a'r Parch y rydd eich Henw chwi a'ch Tâd dyſcedig iddo, mor nerthol ac y dichon dim o'r nattur hynny fôd, i beri ir Darllenwyr pwyllog gredu cymmaint y pethau rhyfeddol y ſydd yntho, ac yr wyfi yn gobeithio eich bod chwi yn credu y Gwirionedd mawr hyn, o'm bód i chwi,

*Syr*,

*Yn ffrind tra chariadus ac yn*

*Wasanaethwr gostyngedig*

Robert Boyle.

*Ir Anrhydeddus a'r tra rhagorol mewn Duw-ioldeb a Dysc*

# *Mr.* ROBERT BOYLE.

*Syr*,

MEwn ufydd-dod ir Gorchymyn y ryngodd bôdd i chwi ei roddi i mi, myfi a gyfieithiais y ſtori ryfeddol hon, teilwng iw gwybod gan bawb, megis peth ſy'n gwaſanaethu yn rhagorawl, i argyhoeddu yr Athiſtiaid (ſef y Sawl nid yw 'n credu fod Duw) a'r Sawl nid yw ond hanner credu, o'r amſeroedd hyn: y rhai gan mwyaf a berſwadiant eu hunain, nad oes yn y Byd y fath beth ac un rhwy ſylwedd Yſprydol, anghorphorol, a deallus. A rhai o honynt a ddywedant y peth y mae y rhan fwyaf o honynt yn ei feddwl, *Mai Pe gallent hwy gael un math o ſicrwydd fod Cythreuliaid, yna y credent hwy hefyd fod Duw.*

Ac i gadarnhau y rhain, ſy'n cymmeryd arnynt yr Enw o wyr ſynhwyrol iawn, yn eu hanghrediniaeth echryſlon, braidd y datcuddia Satan ei hunan un-waith mewn Oes, mewn un math o agwedd weledig, neu fel y gellir ei glywed ef; ond i naill ai i Ddynion gwael anwybodus, ac ir naturiaethau fwyaf annifeilaidd, mewn rhwy anialwch wyllt bellennig, neu ynte os yng hyfeillach ſwyn-gyfareddwyr, y rhai ydynt gyfrwyſach, y mae hynny yn unic mewn ymddiddan dirgel; fel y cyfrifir cyfaddefiad y rhai cyntaf megis peth yn tarddu allan o Darth tew, a geri neu felancholi llydlyd, fel pe bae hynny yr unic Ddiawl, ac ſydd yn ffurfio cyfarfodau a dawnſiau'r witſhod yn eu mhennyddiau hwynt; ac fel y cyfrifed

proffes

proffes y lleill yn Dwyll Dynion Drwg, y cyfryw ac ydyw yr holl fwyngyfaredd-wyr.

Ac yn yr un mòdd, pan y fonnier wrthynt am ddynion â Cythreuliaid ynthynt, y maent yn bwrw afreolaeth y rheini ar glefydau neu ar hudoliaeth. A gwir ydyw fod y Diawl yn gwneuthur y niwed mwyaf, lle y gwelir ac y clywir ef leiaf, a lle y gochilir leiaf rhagddo. Ac am hynny 'r wi 'n credu yn ddilys, nas gwnaeth efe fwy o gam â'i Deyrnas mewn llawer Oes, nag y wnaeth efe trwy amlygu ei hun mor eglur ac mor agored yn y pethau a adroddir ymma. Canys trwy hyn ni adawodd efe le yn y Byd, i Anghrediniaeth yr Athiftiaid haerllyg i redeg iddo. Ac er bod hwn yn Gythrael cyfrwys, etto yn hyn o ran, nid oedd efe yn gwbl ddyfgedig yn Neddfau uffern.

Llawer o Draethiadau fydd allan ynghylch cythreuliaid yn amlygu eu hunain: eithr yn Hiftori yr efengyl y mae y rhai ficcraf, y môdd y llefarodd y Diawlaid yn grôch, yn y cyrph a feddiannafant, yng wydd tyrfaoedd mawrion; yr hyn a wnaethant hwy, wedi gwafcu arnynt a'u brawychu gan brefennoldeb Arglwydd y Bywyd, eu Llywydd a'u Barnwr.

Eithr ni fynegodd un Hiftori, na fanctaidd nac halogedig, na hên na newydd, y fath amlygiad ewyllyfgar, cyhoeddus, parhaus, a di-wâd, o eiddo 'r Yfpryd aflan, ac y mae hon yn ei fynegi. Canys nid oedd cynnefin Gyrchfa y cythrael hwn, at Swyn-gyfareddwyr a Dewineffau, eithr at Ddynion duwiol; A hynny nid mewn Congl, neu mewn Anialwch, ond yng hanol Dinas fawr, mewn Ty, lle yr oedd llaweroedd yn dyfod beunydd i wrando arno fo 'n llefaru, a lle 'roedd rhai o grefyddau gwrthwyneb iw gilydd yn ymgynnull ynghyd. A pharodrwyd y rheini, i wradwyddo y Sawl nid oeddynt o'u barn, a fu yn Achos, nid yn unic i Ben-llywodraethwr, eithr hefyd i Efcob y Lle, i Holi y matter yn fanol, trwy yr hyn y cyflawn gadarnhawyd Gwirionedd y peth.

Yr holl Bethau hyn, a llawer ychwanegy fynegwyd

im Tâd parchedig, pan yr oedd efe yn Ben-llywydd yng-Hymmanfa Eglwyswyr y Deyrnas yn y Parthau hynny, gan y Gwr y bu 'r afreolaeth hyn yn ei Dy, sef, Awdwr y Llyfr hwn, Gweinidog duwiol, pwyllog, a pharchedig, yr hwn (os yw efe yn awr yn fyw) sydd tu hwnt i bedwar ugain oed. Fe scrifennodd y Traethawd hyn, pan yr oedd y pethau yn newydd yn ei goffadwriaeth ef, ond nis printiodd efe mo hono nes ym mhen un-mlynedd a deugain gwedyn, yn y flwyddyn 1653, wedi ei gymmell i wneuthur felly, trwy yr amryw Draethiadau o'r stori hon, a wasgarwyd ar llêd, a rhai o honynt hwy yn anghyttun ai gilydd. A chyda hwn fe osododd allan Lyfr ynghylch Cythreuliaid a Witshod, o'r Enw *Dæmonologia*, llyfr y dál ei ddarllain.

Yn yr holl brofedigaethau hyn, fe ymddygodd ei hunan yn ddoeth, yn wrol ac yn dduwiol; canys fo wrthwynebodd y Diawl yn wastadol yn ei amryw rithiau, pa un byr nag ai o Angel y goleuni, neu ynte o Elyn cyhoeddus i Dduw. Fo'i temptiwyd ef gan yr yspryd drwg, weithie i fod yn rhy fanol, weithie i fyddoldeb, weithie i arswydo, weithie i gellwair a digrifwch: eithr yr un oedd y Gwr da bob amser, sef, yn sobr, yn ddianwadal ac yn ddifrifol, yn ceryddu y Cythrel, ac yn arfer Arfau cyfiawnder yn ei erbyn ef, ar y llaw ddehau ac ar y llaw asswy. Ac yn ei hyder ar Dduw ni bu pâll arno; canys dros yr holl amser o'r edledigaeth hyn, ni adawodd Duw ir Cythrael bywiog hwnnw wneuthur iddo niweid yn y byd, nac i un o'i eiddo ef, nac yn eu personau, nac yn eu Da; ac ym mhen can nhiwrnod, fe swriodd Duw y Cythrel allan o'i Gastell y drais-feddiannod efe.

Mae fy mhoen i yng-hyfieithiad y llyfr hwn mor wael, ac nas dodaswn i fy Enw wrtho, oni buasse i chwi dybied Syr, y bydde fyng wybodaeth i ynghylch gwirionedd y stori hon, trwy 'r Adroddiad a wnaeth fy Nhâd parchedig o honi wrthisi, yn beth cadharnhad iw siccrwydd hi. Myfi a'i derbynniais hi o ail law, etto o law siccr.

Eithr

Eithr chychwi ſyr, a gawſoch oddiwrth yr Awdwr ei hunan hyſpyſrwydd agoſach, yr hyn wedi ei oſſod o flaen y llyfr hwn, a rydd iddo ſynediad rhwydd a diddadl, i gael ei dderbyn i Grediniaeth y Darllenwyr manolaf, a doethaf. Ac ni bydd eu Tyb hwynt ddim yn llai am leſáad y ſtori hon, nag y bydd e am ei gwirionedd hi, pan y gwelant hwy, fod Gwr, mor uchel mewn Dyſc, mor ddwfn mewn Barn, mor ddiragrith mewn Duwiol-deb, ac mor hynod mewn Gweithredoedd da, gwedi barnu, y bydd hi o ddefnydd rhagorol i argyhoeddu y rhai nid yw 'n credu, ac i gadarnhau y Sawl ſy yn y ffydd. Minne hefyd ſy hunan trwy hyn a gâf yr uchel-fraint hon, o fod yn gydnabyddus ir Byd, ſy môd i gwedi ſy anrhydeddu a'ch Gorchmynnion chwi, a bod yn hôff gennif i ddangos ſy hunan, ſy môd i chwi

*Syr,*

*Yn dra goſtyngedig ac ufydd Waſa-naethwr, a gwir Anrhydeddwr*

Peter Du *M*oulin.

# *Llythyr at y Darllenwyr.*

*Ddarllenwyr cariadus,*

DYmma i chwi ſtori wedi ei chyfieithu yn gymraeg, yn cynnwys ynddi gyfrif, ynghylch pethau rhyfeddol y wnaeth ac a ddwedodd Yſpryd drwg, yn nhy Gweinidog duwiol yn *Ffraingc*, wedi ei ddanfon ich plith, ich cadharnhau chwi yn y Gwirionedd hyn, ſef, *Bôd cythreuliaid*; mewn gobaith, mae po fwyaf y bo chwi wedi eich ſefydlu yn y grediniaeth hon, mae mwy fydd eich gofal chwi ymma, i ochelyd profedigaethe yr yſprydion melltigedig hyn, rhag ofn i Dduw eich taflu chwi i Uffern, i fyw gyda nhwy ar ól hyn.

Ac er bod y Scrythyrau ſanctaidd yn dala allan yn eglur ddigon, *Fod Cythreuliaid*; etto pan bo Duw yn rhoddi i ni, trwy ei ragluniaeth neu drefniad o fatterion y Byd, ychwaneg o Siccrwydd am y Peth, Gweddus yw i ni ddal ſulw ar, a chymmeryd Addyſg oddiwrth hynny.

*Megis y mae Rhwymiad* Satan *rhwy brydie, a'i Attaliad ef rhag gwneuthur drwg i neb, yn ûn o Drugareddau Duw ir Byd: felly y mae ei Ollyngiad ef yn rhydd ar brydie eraill, i frawychu ac i wneuthur niwed i Ddâ ac i Ddynion, yn ûn o wialennau a Barnedigaethau Duw ar y Byd, i brofi ffydd ac amynedd y Duwiol megis y profwyd* Job, *neu ynte i goſpi yr Annuwiol megis y coſpwyd* Ahab, *twy ollwng* Satan *yn rhydd arnynt; ac am hynny peth yw hyn i ddal ſulw arno, ac i dderbyn Addyſg oddiwrtho; canys fel hyn y dywed yr Arglwydd*, Gwrandewch y Wialen a Phwy a'i hordeiniodd. *Dat.* 12. 12. *Dat.* 20. 1, 2, 3. 1 *Bren.* 22. 22. *Mic.* 6. 9.

Ac fel y gwasnaetha y Traethawd hwn, ich ſefydlu chwi yn y Gwirionedd mawr hyn, ſef, *Bôd Cythreuliaid*; felly hefyd y gwasnaetha fo, ich cadharnhau chwi mewn Gwirionedd arall ſydd fwy pwyſig o lawer, ſef, *Bôd Duw*: ac am hynny y dilyt bod yn grefyddol ac yn raſol, fel y gellir

gellir bod ar y ffordd i gael ei ffafor ef ymma, ac i fyw gydag ef ar ôl hyn.

Fe ddichon Rhefwm Dyn gafclu oddiwrth amryw Bethau, *Fod Duw*, ac yn enwedig oddiwrth Waith y Greadigaeth, ac oddiwrth y Dychryn fydd yng Hydwybodau Dynion ar ôl gwneuthur rhyw fowr-ddrwg, ac oddiwrth yr yftyriaeth hyn o fod Cythreuliaid.

Pan y gwelo Dyn y Nefoedd, yr Haul, y Lleuad, y Sêr, y Ddaiar, a'r Moroedd, pob peth yn drefnus yn ei Lê, y naill yn wfnaethgar ir llall, a'r cwbl yn wfnaethgar i Ddyn, y Creadur pennaf yn y Byd, fo Ddichon, gafclu oddiwrth hynny trwy Refwn, mae Siccr a Dilys ydyw, *Fod Duw*; *canys fel y dwed Mr.* Perkins, *Pan yftyriwyf ffrâm* (Gwêdd) *a rhyfeddol wneuthuriad y Byd, yr wyfi yn tybied ynof fy hun, nas galle Greaduriaid mor druain ar fydd ynddo* (megis y Dynion, yr Annifeiliaid, yr Adar a'r Pyfgod) *wneuthur mo hwn, ac nas galle 'r Byd chwaith ei wneuthur ei hun : ac o herwydd hynny, gan na alle 'r creaduriaid wneuthur mo 'r Byd, na 'r Byd chwaith wneuthur ei hun*, Rhaid yw bod Duw (*heb law y pethau hyn ôll*) *ar a wnaeth y Byd. Megis ac ped fae Gwr yn dyfod i Wlâd ddieithr, a gweled yno ryw Adeiliadau têg a chost-fawr* (megis Tai a cheftyll) *ac etto heb gyfarfod yno ag un Creadur byw ond yn unig Ehediaid y Nefoedd, a Bwyftfilod y Ddaiar, nis tybia hwnnw mai 'r Adar neu'r Annifeiliaid a gododd yr Adeiliadau hynny i fynu: ond Fo a ddeall ac a wyr yn y man* (wrth Refwm) *mai naill ai y mae, neu fe a fu* (ryw amfer) *Ddynion yno ac a'u cododd hwynt i fynu: yn yr ûn môdd, wrth waith y Greadigaeth y gellir deall* (*wrth refwm*) *Fod Duw, yr hwn a greawdd y cwbl.* Rhuf. 1. 20.

*Felly hefyd* (*medd Mr.* Perkins) *y dichon Dyn gafclu trwy Refwm, oddiwrth y Dychryn fydd yng Hydwybodau Dynion, ar ôl gwneuthur rhyw fowr-ddrwg, mai dilys a ficcr ydyw*, Fod Duw; canys y neb a wnelo ryw Ddrwg, megis Llofruddiaeth, Godineb, Torr-priodas, Cabledd a'r Fath; ér celu a chuddio o hono y Drwg a wnaeth (*fel nas gwyppo un dyn byw ddim oddiwrtho*) etto y mae efe yn clywed yn fynych iawn

y fath

y ſath waſcfa yn ei gydwybod, mal pe byddei Tân uffern wedi ennyn oddi-fewn iddo: A rheſwm cadarn yw hwn i ddangos *Fod Duw*, ger bron gorſeddfaingc pa un y bydd rhaid iddo ddyfod i atteb am ei weithredoedd. *Pſal.* 14. 5. *Rhuf.* 2. 15.

Ac fel y bo i chwi weled pa fodd y dichon Rheſwn Dyn gaſclu *Fod Duw* gan *fod cythreuliaid*, yſtyriwch yr amryw Ddrygau y wnaeth *Satan* gynt, fel y crybwyllir am danynt yn y Scrythyrau.

Pwy a demptiodd ac a dynnodd *Adda* ac *Eſa*, ac ynddynt hwy holl ddynol ryw i bechu, ac felly i ddeſtrywio eu hunain ond *Satan* yr hên Sarph? *Dat.* 20. 2.

Pwy a demptiodd *Dafydd* (mewn balchder) i beri rhifo pob pen yn ei Deyrnas, nes digio Duw, a dyfod plâ i ddifetha deng mîl a thrugain mîl oi bobl ef, ond *Satan?* 1 *Chron.* 21. 1. 14.

Pwy a yrrodd y *Sabeaid* a'r *Caldeaid* i ddwyn Dâ *Job*, ac i ladd ei weiſion ef? a Phwy a ddaeth â Thân o'r Awyr i loſci ei ddefaid ef, a gwynt o'r anialwch i daflu 'r Ty i lawr ar ei Blant ef nes ei lladd hwynt? a Phwy a darawodd Job ei hunan â chornwydydd blîn, o wadn ei droed hyd ei goryn ond *Satan?* *Job, pen* 1. *a'r* 2.

Pwy yn nyddiau 'n prynwr ar y Ddaiar ond rhyw Gythrel a dafiei Lange, weithie ir Tân, weithie ir Dwr, ac a'i dryllie ef hyd onis malei ewyn ac yr yſcyrnygei ei ddanedd, gan ddihoeni ar ei draed? *Mar.* 9. [illegible]

Pwy ond Cythreuliaid yn amſer Chriſt a wnaeth rai mor greulon, fel nad allai neb ſyned y ffordd yr oeddynt arni? ac wedi eu bwrw hwynt allan o'r Dynion, a myned o honynt i genfaint o Fôch, pwy ond y nhwy a wnaeth ir môch ruthro tros y dibyn, nes eu boddi oll yn y môr, ynghylch dwy fil o honynt? *Matth.* 8. *Mar.* 5.

A thrwy gymmorth pwy ond trwy gymmorth Diawlaid, y gwnaeth Conſurwyr, Rheibwyr a Witſhod ddrygat[illegible]awrion, o amſer i amſer, i Ddâ ac i Ddynion?

Yn

Yn awr gan fod y cythreuliaid oll, y pennaf a'r isseaf o honynt yn ddrwg ynthynt eu hunain, *Joan.* 8. 44. 2 *Pet.* 2. 4. a chan eu bod hwy hefyd yn gyfrwys (megis seirph) i ddychymmig drwg i eraill, ac yn alluog i gyflawni hynny, fel y dangoswyd o'r blaen, ac yn aml mewn nifer, canys yr oedd lleng (*gwedi chwe mil o honynt*) mewn un Dyn, *Luc.* 8. Ni allwn yn hawdd gasclu trwy reswm, *mai rhaid yw bod Duw*, sef ûn ac sydd uwch nag hwynt-hwy mewn *Gallu*, yn Dda yntho ei hunan, ac yn Dda wrth y Byd, i attal y cythreuliaid hyn, oddiwrth wneuthur y Drygioni a ewyllysient ei wneuthur; oni bae hynny ni byddei ond ochain a galar ymmhob mann.

Yr un Ddibenydd a ddaethe i *Job* ac a ddaeth iw Blant a'i Weision ef, oni buasse f*od Duw* i ddala *Satan* wrth gadwyn, fel nad allai fo fyned ym-mhellach nag yr oedd efe yn cenhadu iddo. *Job.* 2. 6.

*Mae hyn yn sicer ac yn Ddilys, Oni bae bod Duw, sef, Creawdwr, Meddiannydd, a Phen-llywodraethwr pob dim ôll, yr hwn sydd ansfeidrol mewn Doethineb, Tosturi, Tirioneb, Trugaredd a Daioni, i edrych at, ac i ofalu am y Byd: ac oni bae ei fod efe hefyd yn llawn Gallu i ffrwyno, ac i gadw y Cythreuliaid hyn dan Llaw, ac iw hattal hwynt rhag bwrw eu llid a'r Dda ac ar Ddynion*, Gwae, Gwae, Gwae *a fydde ir holl Fyd.*

Nid ydyw yn afreidiol gosod ar lawr y pethau hyn o flaen pobl; canys y mae Bagad yn byw yn y fath fôdd, fel pe ni baent yn credu (neu ar y lleiaf fel pe ni baent yn credu fel y dylent) *Fod Duw, Fod Diawl, Fod Nef, Fod Uffern.*

Pe bae pobl yn credu hyn fel y dylent, hwy a rodient gyda 'r rhan lleiaf o ddynion, yn y ffordd gûl sydd yn arwain at *Dduw ir Nef*, ac nid gyda 'r rhan fwyaf yn y ffordd lydan sydd yn arwain at y *Diawl i Uffern.* Mat. 7. 13, 14. * Hwy a edifarhaent am eu pechodau hên a newydd, † ac a daer geisient Drugaredd a heddwch

Duw

Duw trwy *Jesu Ghrist*: ‖ Hwy a garent Dduw ac a'i hoffnent ag ofn parchedig,ac a'i gwasanaethent,gan * ymegnio gadw ei orchymynnion ef: † Hwy a grynent wrth eu fygythion ef, ‖ ac a ymhyfrydent yn ddirfawr yn ei Air ef ac a * ochelent i ddigio ef trwy bechu yn ei erbyn ef. * *Luc* 15. 21. † *Luc.* 18. 13. ‖ 1 *Joan.* 4. 19. *Heb.* 12. 28 * 1 *Joan.* 2. 3, 4. † *Esa.* 66. 2. ‖ *Psal.* 1. 2. * *Gal.* 5 24.

Eithr och Dduw: nid oes ond nifer fechan o'r Byd yn byw felly; canys os edrychwn ni ar ymarweddiad cyffredin y Byd, ni allwn weled, fod y rhan fwyaf o bobl yfyweth, yn Weithredwyr anwiredd, a'i bod nhwy yn syrthio i bechod, nid trwy wendid fel y mae 'r Duwiol yn syrthio iddo, ond eu bod nhwy yn gwneuthur arfer gyffredin o hono; yr hyn beth nis byddei, pe bae Gras ynddynt, a phe baent yn credu fel y dylent. *Rhuf.* 6. 14.

Gwelwn fel y mae 'r Byd yn heidio a Thyngwyr, Rhegwyr yn offrymmu eu Heneidiau ir Diawl ar bob achos, Halogwyr sabboth, Putteinwyr, Rhagrithwyr, Maliswyr, Celwyddwyr, Anudonwyr, Enllibwyr, a Gwatwarwyr sancteiddrwydd.

Gwelwn ym-mhellach lawned yw'r Byd o Feddwon, Beilchion, Cebyddion, Ffeillstion, Lladron, Anrhugarogion wrth y tlawd, ac o Annuwiolion, sef, rhai nad yw 'n galw ar Dduw na'i foli ef, nac o'r neilltu wrthynt eu hunain, nac yn eu Teuluoedd, nac ysgatfydd uwch ben eu bwyd wrth giniawa a swperu.

Gwelwn hefyd mai yr ydys yn gwneuthur cam ag ymddifaid, a Gwragedd gweddwon, a'r gwann ei gallu i amddiffyn eu hunain trwy gyfraith rhag gorthrymderau, ac a Gweithwyr tlodion, trwy beidio talu iddynt eu llawn gyfloge, neu ynte trwy eu talu hwynt, mewn yd ag enllyn gwael, ai bris tu hwnt i bris y goreu ar y Farchnad: a gwelwn fel yr ydys yn malu wynebau Deiliaid ac Hafodwyr, gan ddelio yn galed ac yn dost ag hwynthwy, ac fel yr ydys yn twyllo gwirionaid am eu Tai a'u Tiroedd mewn amryw leoedd.

Er

Er nad yw'r rhain a'r cyffelib yn gwadu mewn geirie Fod Duw, a Diawl, a Nef, ac Uffern, etto y maent yn gwneuthur felly trwy eu Gweithredoedd. *Titus* 1. 16.

Pe bae pobl yn credu y pethau hyn fel y dylent, gan eu ficcrhau eu hunain yn eu cylch hwynt, trwy eu dwys ystyried hwynt yn eu calonnau, a'r Sail sydd gennym am gredu eu bod hwynt, fe fydde 'r grediniaeth honno yn Achos, o fod gwell wyneb gan y Byd nag y sydd gantho 'rwan: ac ni byddei 'r Annuwioldeb, a'r Anghyfiawnder; a'r Anrhugarogrwydd, a'r Bradwriaeth, a'r Heidiau eraill o'r pechodau hynny yntho ac y sydd yntho 'rwan; eithr fe fyddei pobl yn byw, yn Dduwiol, yn Sobr, ac yn Gyfiawn yn y Byd presennol, a thrwy hynny hwy a ddangoffent, fod ynddynt wir ddymyniad, i fyw ar ôl hyn gyda Duw yn y Nêf, a gwir Ofal i ochelyd byw gyda 'r Diawl yn Uffern.

Meddyliwch yn fynych, *Fod Duw* yr hwn a roddes i ni Gyfraith fanctaidd, a'n bod ninne wedi torri 'r gyfraith honno (1) míl a míl o weithie, (2) a'n bôd ní yn haeddu Damnedigaeth tragwyddol yn Uffern gyda 'r Diawl a'i Angelion, am y pechodau a wnaethom ni yn erbyn y Gyfraith honno, ( 3 ) ac nad oes ffordd i gael maddeuant am danynt ond yn unig trwy ac er mwyn Jesu Grist, ( 4 ) ac na cheidw Christ neb ond y Sawl sy'n credu ynddo ( 5 ) â chalon edifeiriol am eu pechodau, ( 6 ) ac â gwir bwrpas ynddynt i droi oddiwrthynt, ( 7 ) ac i fyw yn fanctaidd o hynny allan: ( 8 ) a meddyliwch hefyd y caiff y rheini fywyd tragwyddol ar ôl hyn gydag efe yn y Nef, mewn mawr ( 9 ) Ogoniant a llawenydd; ond y bydd ( 10 ) rhan Gweithredwyr anwiredd yn y llynn sydd yn llosci â Thân a Brwmstan yn oes oesoedd, gyda 'r Diafol a'i Angelion; ( 11 ) ac mai megis ac y bydd Gogoniant y

Duwiol yn y nef tu hwnt i ddim ar a welodd Llygad, ar a glywodd Clûst, nac a ddaeth i Galon Dyn erioed i feddwl am dano; (12) felly yn yr un môdd y bydd poenau 'r Annuwiol yn Uffern, tu hwnt i ddim ar a welwyd, ar a glybwyd, nac ar a ddaeth i galon Dyn i feddwl am dano. ( 1 ) *Psal.* 40. 12. ( 2 ) *Rhuf.* 6, 23. ( 3 ) *Act.* 4. 12. ( 4 ) *Mar.* 16. 16. ( 5 ) *Luk.* 13. 3. (6) *Esay.* 5. 7. ( 7 ) *Hebr.* 12. 14. ( 8 ) *Matth.* 25. 46. (9) *Matth.* 13. 43. ( 10 ) *Dat.* 21. 8. *Mat.* 25. 41. ( 11 ) 1 *Corinth.* 2. 9. ( 12 ) *Mar.* 9. 44.

Eithr nid yw pobl annuwiol yn meddwl am, nac yn credu y pethau hyn fel y dylent: y Sawl o honynt ac fydd yn credu fod Duw, hwy a fynnant ei fod ef yn Drúgaredd i gyd, lle y mae efe yn gyfiawn i gospi 'r Anghredadwy a'r Anedifeiriol yn drwm ac yn dost, yn gystal ac yn Drugarog i faddc ac i gadw y ffyddloniaid neu'r Edifeiriol: ac am hynny, er annuwioled y mae rhai yn byw, ac er eu bod nhwy yn chawnegu meddwdod at fyched; etto y maent yn dywedyd heddwch wrth eu calonnau eu hunain, y peth nid yw Duw yn ei ddywedyd wrthynt, ond y mae efe yn eu bygwyth hwynt yn galed yn ei Air, eithr nid ydynt yn credu y bydd eu Diwedd hwynt yn ôl y Bygythion hynny. *Exod.* 34. 6, 7. *Deuteron.* 29. 19, 20. *Esay.* 57. 21.

Myfi a glywais ftori am wr a ddeffroodd o farw i fyw, a dywedyd o hono fo y Geiriau hyn, fef, *Nid oes neb yn credu*, *Nid oes neb yn credu*, *Nid oes neb yn credu*: A phan y gofynnwyd iddo, Beth oedd yr hyn nad oedd neb yn ei gredu; Fo attebodd, *Nid oes neb yn credu, mor Fanol y mae Duw yn Holi, mor Gyfiawn y mae Duw yn Barnu, ac mor Dosted y mae Duw yn Cospi.* Ond yr wyfi 'n cofio yr hyn a ddywedodd *Abraham* wrth *Dives*, Oni wrandawant ar *Moses* a'r Prophwydi,

(*hynny*

*(hynny yw ar y ſcrythyrau a ſcryſennwyd gan* Moſes *a'r Prophwydi* ) ni chredant chwaith, pe codei un oddi wrth y meirw *Luc.* 16. 31. Meddyliwch am hyn, a Duw a roddo i chwi Ddeall ym mhob peth. Byddwch wych, yr wyfi 'n gorphwys

*Abertawe y*
13. *o Fis Hydref*,
1680.

Eich Gwaſanaethwr yn
yr Arglwydd

*Stephen Hughes.*

 Adroddiad

# Adroddiad Cywir,

O'r

Pethe Pennaf, y wnaeth, ac a ddwedodd

# Yspryd Aflan,

YM

# MASCON, &c.

Y Pedwrydd dydd ar ddec o fis *Medi*, yn y flwyddyn 1612, mi aethym gydag un o Henuriaid yr Eglwys ym *Mascon*, i gymmanfa yr Eglwyswyr yn nhre *Couches*; ac ni a ddychwelasom ym mhenn pum nhiwrnod.

*A chwedi dysod adres, mi welwn yn eglur, wrth wynebpryd sy ngwraig a'i morwyn, eu bôd nhwy mewn dychryn mawr iawn.*

A phan yr ymofynnais i am yr achos o'r newidiad mawr hwnnw ynddynt; fe ddywedodd fy ngwraig wrthif, ddarfod i ryw beth, ni wydde hi pa beth, y nos

gwedi sy myned i oddi cartref, dorri ei chwsc gyntaf hi; trwy dynnu o amgylch, gyda nerth a thrwst mawr, gwrtens y gwely yn yr hwn yr oedd hi yn gorwedd:

A darfod ir forwyn, yr hon oedd yn cyscu mewn gwely arall yn yr un stafell, gwedi clywed hynny, gysodi ar frys a rhedeg atti, i wybod beth oedd y matter; eithr nas gwelodd hi ddim; ie gael o honi ddryse a ffenestri 'r stafell honno ynghaued yn glôs iawn, fel y cauodd hi hwynt cyn ei myned ir gwely.

Dywedodd sy ngwraig wrthis hefyd, ddarfod iddi hi, oblegit yr hyn y ddigwyddodd, beri ir forwyn orwedd gyda hi yr ail nôs: ond cyn gynted ac yr oeddynt yn y gwely, glywed o honynt ryw ryw beth yn tynnu 'r blancedi oddi arnynt: a darfod ir forwyn ar hyny gyfodi o'r gwely, a myned allan o'r stafell honno, yr hon oedd yng-hanol y Ty; eithr cael o honi y drws gwedi folltio, nid yn unig o'r tu fewn, megis y bolltiodd hi ef, eithr hefyd o'r tu allan; a chyn gallel o honi wybod hynny, pan y ceisiodd hi agoryd y drws gwedi ei ddadfolltio ef, hi a glywe ymosodiad yn ei herbyn, megis a phe buase ddyn o'r tu allan yn ymwthio yn wrthwyneb iddi.

[illegible] pan welodd y forwyn, ei bod hi gwedi ei chau i [illegible], hi a alwodd ar Iange, yr hwn oedd yn gorwedd ymewn stafell arall, yr y rhan flaenaf o'r ty; ac efe a gyfododd i agoryd y drws iddi; eithr nid ynganodd hi air wrtho ef ynghylch yr afreolaeth hyn, rhag ofn ei frawychu ef: ond gwedi ennyn canwyll, hi ganfydde 'r llestri près a pheitir gwedi eu taflu o bobtu yn y gegin; â pha rai y gwnaeth yr yspryd drwg y noson honno, a'r mosweithie y ganlynodd, y cyfryw gainge ynfyd, ac a wneir (*yn-ffrainge*) ar briodas hen widw, neu wrth gasglu gwenyn i lester, drwy guro pedyll a chrochanau.

Wedi

*Wedi clywed hyn, nid allafi lai na chyfaddef, nas darfu i ryw fraw fy nala i; etto mi bwrpassais, na rown ormod coel ir fath stori ryfeddol; ac nas llwyr angbredwn hi hefyd.*

Amryw feddyliau a redent i'm calon. *Weithie mi ystyriwn wendid ac ofn gwragedd: weithie mi dybiwn, nad oedd y cwbl ond cnafri rhyw drwg-ddyn cuddiedig yn y ty.* Am hynny cyn fy myned ir gwely, mi chwiliais holl gonglau 'r ty yn fanol, gan folltio a barro 'r holl ddrysse, a chau 'r ffenestri, ie a thyllau 'r cathe, heb adel dim heb edrych atto, ac a alle roddi achlysur i dybied mai twyll oedd y peth. Ac ar ôl gweddio gyda 'm teulu, mi aethym i'm gwely, tra 'r ydoedd fy ngwraig a'm morwyn yn nyddu wrth y tân, a lamp yn llosci ar y bwrdd.

*Braidd yr oeddwn yn fy ngwely, ond wele mi glywn swn mawr yn dyfod oddiwrth y gegin, megis rholiad baich o goed tân, wedi dafflu â nerth mawr. Clywais hefyd [illegible] astylled pared y gegin, weithie megis â phen bys, weithie megis ag ewinedd, weithie megis â dwrn; ac yna [illegible] y dyrnodie.* Llawer o bethe hefyd a dafl[illegible] yn erbyn yr astylled hynny, megis pláts, trenshwrre, a lledwade; a gwnaed cerdd â hiddl o brês (g[illegible] ccian â'i modrwyau) ac â rhai offerynnau e[illegible] gegin.

Ar ôl gwrando 'n ddyfal ar y trwst hyn, mi gyfodais o'm gwely, a chan gymmeryd fy nghleddyf, mi aethym ir stafell, lle y cedwid yr holl ddwndwr hyn, a'r forwyn yn dala 'r ganwyll o'm blaen; ac a chwiliais yn fanol, i edrych a oedd neb wedi ymguddio yn y ty; ond pan nas cefais i neb, mi a ddychwelais i'm gwely. A chwedi dechreu o'r dwndwr drachefn, mi godais eilchwaith, ac a chwiliais drachefn, ond i gyd yn ofer.

*Yna y dechreuais i ddeall mewn gwirionedd, nad allei hyn i gyd ddyfod oddiwrth neb, onid oddiwrth*

 *rhyw*

*rhyw yſpryd drwg ; ac felly mi dreuliais y rhan arall o'r nôs, yn y cyfryw fraw, ac ſydd hawdd i un-dyn ddeall pa fath ydoedd.*

Y dydd neſſaf yn fore iawn mi fynegais y matter i Henuriaid yr Eglwys: ië mi a'i bernais yn gymmwys hyſpyſſu 'r peth i Mr. *Ffrancis Tornus*, Scrifennydd y Brenin, a Gwr o gyfraith ym *Maſcon*, er ei fod e'n bapiſt ac yn wreſog iawn tros ei grefydd ; a chyn diweddu mi roddaf fy rheſymme am hynny. A chwedi hyſpyſſu 'r matter iddynt, ni ffaelodd ar un o honynt ddyfod, i ymweled â mi bob nôs, naill ai i gyd ynghyd, neu ynte ar gylch, cyhyd o amſer ac y parháodd yr aflonyddwch hwnnw yn fy nhy, gan wiliad gyda mi hyd hanner nos, a weithie 'n hwy.

Y nôs gyntaf ac y daethant hwy, a rhai noſweithie ar ôl hynny, fe ymattaliodd yr yſpryd drwg, oddiwrth wneuthur na thrwſt na chynwrf yn y byd yn eu gwydd hwynt, fel petteiſe 'n anewyllyſgar i wneuthur ei hun yn gydnabyddus iddynt.

Eithr ar y diwedd, ar yr ugeinfed dydd o fis Medi, yng-hylch naw o'r glôch, fo ddatcuddiodd ei hun yn amlwg pwy 'n ydoedd efe : *canys yn ein gwydd ni ôll, a Mr. [illegible] un o'r cwmpeini, fo ddechreuodd chwibanu â [illegible] ac uchel iawn deir-gwaith neu bedair ; ac yn y [illegible] fo ffurfiodd leferydd, y cyfryw ac y allem ni ei ddeall, etto yn lled gryg, a hynny ynghylch tri neu bedwar cam oddiwrthym fel y tybygem ni.*

Ar geiriau cyntaf ac y lefarodd efe oedd y rhain dan ganu, *vingt et deux deniers*, hynny ydyw *dwy geiniog ar hugain*, ſef, *tôn fechan ar feſſur pump, ac a ddyſcir i adar a chwibanu iw ganu.*

A chwedyn fo llefarodd ac a ail-adroddodd yn fynych y gair hwn, *Gwenidog, Gwenidog* ; Ac oblegit fod y llais hwnnw yn dra ofnadwy i ni ar y cyntaf, mi ymmatteliais yn hîr, cyn yr attebais iddo ddim ond hyn yn unig ; *Dôs oddi wrthifi Satan, yr Arglwydd a'th geryddo di.*

Eithr

Eithr fel yrydoedd efe eilchwaith yn ailadrodd yn fynych iawn y gair hwnnw, *Gwenidog*, gan dybied ( mae 'n dybygol ) trwy hynny i'm blino i yn ddirfawr, fe 'm cyffrowyd i ddywedyd wrtho fel hyn ; *ie yn wir, Gwenidog ydwyfi, Gwasanaethwr ir Duw byw, o flaen mawrhydi pa un yr wyt ti 'n Crynu.* Yntef a attebodd, *nid wyfi 'n dywedyd amgen* ; ond ebe finne, *nid rhaid i mi wrth dy destiolaeth di.* Etto fo barháodd i ddywedyd yr un peth, fel pe mynasse weithio ynom ni dyb da am dano ef.

Yna fe fynne ymrithio i rith *Angel goleuni*, gan ddywedyd o hono ei hun â lleferydd uchel, *Weddi 'r Arglwydd, y Gredo, y boreuol a'r prydnhawnol weddiau, a'r dêc Gorchymyn.* Gwir yw, fo 'i cwttoge nhwy bob amser, ac a adawe ryw ranne o honynt heb eu hadrodd. Fe ganodd hefyd â llais uchel ran o'r pedwar-ugeinfed *Psalm* ac un.

Yna fe adroddodd lawer o bethe; y rhai y allent fod yn wir ; megis rhyw fatterion neilltuol, perthnasol i'm tylwyth i ; ac ym mysc pethau eraill, wenwyno fy nhad i ; gan enwi y gwr a'i gwenwynodd ef, a phaham, gan hyspyssu 'r lle, a math y gwenwyn.

Fe ddywedodd iddo ddyfod y noson honno o *Bais de Vaux*, a thramwy o hono trwy Bentref *Alamogne*, yr hon sydd yn *Bailioge de Goz*, wrth ddrws ty fy mrawd hynaf ; lle y gwelsai fo ef gyda Mr. *Du Pan* Gwenidog *Thoiry* ; a'u bod nhwy ar fyned i swpper ynghyd yn nhy fy mrawd ; a'u bod nhwy 'n gymmydogion ac yn gyfeillion anwyl ; a darfod iddo gyfarch gwell iddynt, a gofyn, a oedd ganddynt ddim i orchymyn iddo fe i ddywedyd wrthifi, oblegit ei fod e'n myned i *Fascon* ; a darfod iddynt hwy ymddwyn eu hunain yn fwyn iawn tuag atto ef, a deisyf arno gofio eu cariad hwy attafi, ie a gwahodd o honynt hwy fo i yfed gydag hwynt. Tydi 'r Fall ebe finne wrth yr yspryd drwg, pe gwybasent hwy pwy 'n oeddyt ti, ni byssent hwy mor fwyn wrthyti.

Yr

Yr oedd peth gwirionedd yn y ſtori hon; canys fe ddywedodd Mr. *Du Pan* a llawer eraill wrthiſi ar ôl hynny, eu bod nhwy 'n cofio 'n dda iawn, ddarfod i ryw un ar yr amſer hwnnw, or cyfryw agwedd, yr hwn oedd yn marchogaeth ar geffyl main iawn, ac yn goſtwng ei ben i lawr, ſiarad â nhwy; a bod y cyfryw ymddiddanion rhyngddynt.

Mynegodd y cythrel i ni ſtori hefyd, ynghylch brawd arall i mi, yr hwn oedd yn trigo yn nyffryn llynn *de Joux*, yng wlâd *Foux*, gan ddywedyd, i'm Mrawd, ar ryw ddiwrnod, pan y daeth rhai o'n ceraint agos i ymweled ag ef, eu perſwadio hwynt, er mwyn eu gwneuthur hwy 'n llawen, i fyned ar y llynn heb un bâd, ar goed gwedi eu rhwymo ynghyd, y rhai oeddynt yn gorwedd ar wyneb y dwr; ac a nhwythau ymmhell ar y llynn, ddarfod i wynt tymmheſtlog gyfodi, yr hwn a'u gyrrodd hwynt yn eu hôl ir lann ar frys; yn agos ir hon y dadymchwelwyd yr holl goed hynny, a braidd na foddodd yr holl bobl, a chyfaddefodd y cythrel, mai efe a gyfodaſſe y ſtorom honno. 'Roedd y ſtori hon yn ddigon gwir; ac fe alle hynny hefyd fod yn wir, mai efe y gyfododd y gwynt hwnnw, megis y darllenwn ni yn llyfr *Job*, i Satan gyfodi gwynt mawr, yr hwn y wnaeth ir ty ſyrth ar blant y gwr ſanctaidd hwnnw.

Noſwaith arall, a'r cythrel yn lleſaru wrth *Claude Repay*, cannwr lliain, un o'r rhai y arfere ddyfod attaſi gwedi nôs; efe a ofynnodd iddo; onid côf gantho, ar y cyfryw ddiwrnod, ar ôl iddo oſod mewn trefn rhai drylliau o liain a chengle o edef, gael o hono y cwbl, ym mhen gronyn ar ôl hynny, wedi eu ſymmyd allan o'u lle, ac yn an-nhrefnus. Ac yna fo ddywedodd, mai ei waith ef ydoedd hynny.

Gofynnodd i *Philbert Guilermin* cannwr arall, yr hwn hefyd oedd yn y cwmpeini; onid côf gantho, ar ryw ddiwrnod, pan yr oedd e'n plygu i droi rhai drylliau o liain a chengle o edef, y rhai y danwyd ar y gwellt glâs

glâs, ddarfod i ryw beth ei dynnu ef, o'r tu cefn iddo, wrth gwrre ei fhercyn, a pheri iddo ym-chwelyd yn ei ôl ddau neu dri cham; ac onid côf gantho, ar y prydnhawn-gwaith neffaf, ac yntef yn gorwedd yn y candy, i ryw beth daflu ei hatt ef yn ei wyneb, yr hon a grogaffe efe ar hoel wrth yftlys ei wely, a pheri o hynny iddo ddeffroi o'i gwfc gyda dychryn mawr. *Fy ngwaith i oedd hynny ebr diawl.* Fe gyfaddefodd *Repay a Guilermin*, ddigwyddo o'r pethau hyn iddynt, ond nas gwyddent hwy pwy 'n oedd a llaw ynddynt hyd yn awr.

Daeth o *Lyons* farfiandwr o *Lovan*, ac a lettuodd yn nhy ei frawd *Philbert Guilermin*, ac yr oedd yn ei fryd ef, i ymweled â mi y nos gyntaf, ond ni adawe ei frawd iddo ddyfod. Ni ffaelodd ar y cythrel fynegi i ni hynny, gan ddywedyd, nis gwn i mor achos paham na ddaeth Mr. *Philbert* i wiliad ymma neithiwr. Yr oedd chwant mawr ar ei frawd ef i ymwelyd â ni, ond fe gynghorodd *Philbert* ef ir gwrthwyneb, oblegit nas mynnei idd ei frawd glywed, pa fath ftwr yr ydym ni yn ei gadw yn y ty hwn.

Soniodd hefyd ynghylch cynnen ddiweddar y fuafai rhwng *James Berard*, cwtler o *Mafcon*; ac un *Samuel Du Mont*, a darfod ir *Berard* hwnnw gael ei guro gan *Du Mont* yn y fath fodd, ac y bu e agos a marw: a gwir oedd y peth: ond efe a fynegodd lawer o bethe neillduol, anghydnabyddus o'r blaen, ac y ddigwyddafant yn y gynnen honno. Mynegodd i ni, fel y clwyfwyd un *Ffrancis Chickard* yn ei goes yn ffair ddiweddar Saint *Laurence* (ar yr hon y mae dinafyddion *Mafcon* yn myned allan yn eu harfe, dan eu hamryw faneri,) ac ar ôl hynny dorri ei goes ef ymaith, am iddi bydru. Ac fo enwodd y gwr a'i faethodd ef, ac a ddywedodd mai o falis, i ymddial ar *Chickard* y gwaethpwyd hynny iddo, yr hyn a alle fod yn ddigon gwir.

Fe adroddodd ftori redegig ynghylch *Philbert Maffon* a'i wraig *Guiliauma Blanc*, a elwit yn gyffredinol

*la Challonoise*, rhai ac y drigasent gynt yn ein ty ni; ddarfod ir wraig, ar ryw ddiwrnod, a nhwythau wedi cwympo allan a'u gilydd, gymmeryd achlyssur i ymddial ar ei gwr, pan yr ydoedd efe ar fedr myned i lawr iw shop; gan ei wthio ef o'r tu cefn iddo â'r fath nerth, hyd oni syrthiodd efe i wared tros y steire yn farw fyth: ac yna hi aeth yn ebrwydd i lawr dros bâr o steire eraill, i alw 'r prentisiaid a'r gweithwyr o'r shop i ddwad i yfed diod; fel pan y caent hwy eu meistr wrth droed y steire yn farw, y bydde iddynt dybied, farw o hono o ryw glefyd disymmwyth. A chredu a wnaeth llawer, mai gwir oedd y dirgelwch hyn y ddatcuddiodd y Cythrel.

Ar noswaith arall, pan yr oedd y Cythrel yn llefaru wrth un o'n cwmpeini, efe a fynegodd iddo y fath bethe neilltuol a dirgel, y rhai medde 'r gwr nas adroddodd efe wrth un dyn erioed, ac y mynnei fo gredu, fod y *Diawl* yn gwybod meddyliau ei galon ef, nes i mi i berswadio ef ir gwrthwyneb.

Yna efe ddechreuodd watwor Duw a phob crefydd, ac wrth adrodd gogoniant ir Tàd, fo adawodd y geiriau, *ac ir Mâb*, heb eu hadrodd; ac wrth enwi 'r *trydydd Person o'r Drindod*, yr oedd ei eiriau ef o ddau ddeall, yn frwnt, yn echrydus, ac yn ffiaidd. A chwedi 'm cyffroi ar hyn i ddigofaint cyfiawn, mi a ddywedais wrtho: *Tydi Yspryd drwg ac atgas a* ddylasit ddywedyd yn hytrach, *Gogoniant a fo ir Tâd, Creawdwr Nêf a daiar, ac iw Fâb ef Jesu Grist, yr hwn a ddestrywiodd weithredoedd y Diafol.*

Yna efe a ddeisyfodd arnom ni yn daer iawn, i ddanfon am Mr. *Du Chassin*, yr hwn oedd bapist, a Pherson plwyf *Saint Stephan*, wrth yr hwn (meddai fe) y cyffessai fo ei bechodau; ac fe fynne iddo ddwyn dwr bendiged gydag ef yn ddiffael, canys dyna 'r peth (ebe fo) a'm gyrrei i ymmaith yn ebrwydd.

Roedd genym ni Gi yn y ty, yr hwn oedd arferol o fod

fod yn wiliadwrus iawn, ac a gyfarthe ar y trwst lleiaf; ac yr oeddem ni'n rhyfeddu, nas cyfarthodd efe un amser, ar ddywediad uchel a scrêch erchyll y Cythrael; ac ebr Diafol o hono'i hun, heb neb yn gofyn iddo; *'rych chi 'n rhyfeddu am nad yw 'r ci yn cyfarth, ond y rheswm o hynny ydyw hyn, am i mi wneuthur arwydd y grôg ar ei ben ef.*

Yna gan fod yn llawen, fe ddechreuodd watwor a gwawdio; ac ym mysc pethau eraill fe ddywedodd, ei fod e'n un o'r rhai a ddringhasant furiau *Geneva, (uno ddinasoedd y protestantiaid)* a phan dorrodd yr ysgol, fo ddywedodd iddo syrthio oddiwrth y wal i ffôs y clawdd, a braidd nas bwyttawyd ef yno gan y llyffaint; ac yna fe wnaeth lais yn gwbl gyffelyb iw llais hwynt. Dywedodd hefyd am *Jesuit* (un o offeiriaid y papistiaid) a elwyd y Tâd *Alexander*, ei fod e'n sefyll y pryd hynny wrth droed yr ysgol, i annog y *Safoyards* i ddringad yn hyderus, gan eu siccrhau hwynt, yr ennillent y *Ddinas*, ac y caent hwy *Baradwys* yn lle gwobr. A phan arweinwyd y tri ar ddeg hynny, y rhai a ddringhasant i fynu, ac a ddalwyd, ir crogpren iw crogi, fo ddywedodd, fod gwragedd y Dref yn dywedyd wrth y Dihenyddwr neu'r Hangman, *ymwrola Tabasan, Di gei arian i gwmpnio.*

Mynegodd hefyd, fod *Pays de Vaux* yn wlâd, lle 'roeddyt yn gwneuthur golwython têg o'r fwyn wragedd, ac ar hynny fo chwarddodd yn uchel iawn. Tra hôff oedd gantho gytcam â morwyn y ty, gan ei galw hi *Bressande (*hynny yw gwraig o wlad *Bressia)* ac fo lefarei â'r un-rhyw lais a hithe. Un nosweith, a hi yn myned i fynu ir llofft i geisio glô, fe ddywedodd wrthi, *'rwyt ti 'n eon (neu 'n hyf) iawn, i drammwy cyn agosed attafi*; a chan wneuthur fwn, fel pettaife 'n curo ei dwylo ynghyd, fo ddywedodd wrthi, *mi'th ddodaf di yn fy Sâch.*

... tyb ni hefyd, hoff iawn oedd gantho ymddigrifo ag

un *Michael Repay*, yr hwn a ddewe attom yn gyffredinol bôb nôs gyda 'i Dâd, gan ei alw ef yn fynych, *Mihel, Mihel.* Dywedodd unwaith wrtho, y dygei fo ef i ryfela gyda 'r *Marquefs* o *Saint Martius*, yr hwn oedd yn codi byddin o wyr meirch ym *Mreffia*, i fyned i *Savoy*. Ond *Michael Repay*, dan wenu a'i hattebodd e'n 'llyn, *a'i gyda 'r fath un digalon a thydi yr awn i ryfela*, gan dy fod yn cyfaddef, ei ti redeg ymaith oddiwrth ddringad murie *Geneva*? ir hyn yr attebodd y Cythrel; *a wyt ti 'n tybied yr awn i gael fy nghrogi gyda 'm cyfeillion? nid oeddwn i mor ynfyd a hynny.* A chan barhau i gellwair â *Michael Repay*, fo'i coffaodd ef, iddo ddywedyd y Sûl o'r blaen, wrth fyned ir Eglwys gydag un *Noel Monginot*, i bentref *Vrigny*, mai'r ffordd i ddala 'r diawl ydoedd tannu rhwyd iddo: ac yna ebe fo, *a dannu di dy rwyd i'm dala i?* A'r pryd hynny efe lefarodd â lleferydd yn gwbl te[illegible]g i leferydd mam *Michael Repay*, hyd oni ddywedodd efe dan chwerthin wrth ei Dâd, *yn wir fy Nhâd, y ma[illegible]fo 'n llefaru yn gymmwys fel fy mam.*

Ar amfer arall, efe a ddywedodd wrthym ni â llais egwan cwynfannus, fod yn ei fryd ef i wneuthur ei 'wyllys, o herwydd fod yn rhaid iddo fyned yn fuan i *Chamberey*, lle 'roedd gantho fatter yn barod iw ofod i dreial mewn cyfraith, a'i fod e'n ofni y bydde fo marw ar y ffordd; ac am hynny fo barodd ir forwyn alw ar fcrifennydd i ddyfod atto, gan enwi Mr. *Tornus*, Tâd ir *Tornus* hwnnw, am yr hwn y crybwyllafom o'r blaen. Fe adroddodd lawer o bethe neilltuol ynghylch ei deulu ef; am ba rai, ac hefyd am yr holl bethe y wnaeth y Cythrel yn ei wydd ef, fe adawodd y *Tornus* hwnnw, fcrifennydd ir Brenin fel ei *Dâd*, draethawd mewn fcrifen dan ei law ei hun, yr hyn fydd gennif yn fy nghadwraeth i wirio 'r cwbl a adroddir yma. Ac er mwyn cael y cyfryw deftiolaeth gymmeradwy y deif-

deisyfais i arno, i ddyfod i'm ty, pan y daeth y blinder hwn arnafi.

Yn y scrifen honno y cofir yr amryw roddion, y fynegodd y Diawl a adawe fo, sef, i un cymmaint a hyn, i arall cymmaint â hynny. Eithr un o honynt, ir hwn y dywedodd y Cythrel y rhoddei fo bum cant o bynne, a'i hattebod ef, nas mynne fo moi arian ef, ac a erfyniodd ar iddynt fôd gydag ef i ddestryw. Fe enwodd wr arall i fod yn etifedd iddo, yr hwn a'i hattebodd ef, y cymmerei fo 'r etifeddiaeth. Mi'th ryddhaf di oddiwrthi (*ebr Cythrel*) am chwe cheiniog a thammeid o Fara.

Gronyn ar ôl hynny, cymmerodd arno, mai nid efe oedd yr yspryd y lefarase o'r blaen, ond mai gwâs i hwnnw ydoedd efe; a dyfod o hono oddiwrth waitio ar ei feistr, yr hwn a archodd iddo gadw ei lê ef yn ei absen, tra 'r ydoedd ar ei daith i *Chamberey*. A phan y ceryddais i ef â'r fath eirie ac a osododd Duw yn fy ngenau, fo 'm hattebodd i a rhîth o arafwch a pharch mawr, gan ddywedyd, *Ardolwyn Syr pardynwch fi, 'rychi 'n camsynnied am danafi; 'rychi 'n fy nghymmeryd i yn lle un arall: Ni bum i yn y ty yma erioed o'r blaen; Ardolwyn syr beth yw'ch henw chwi?* fel yr oedd e'n llefaru fel hyn, *Simeon Meissioner*, un ac oedd yn arfer cyrchu 'n fynych i'm ty ar yr achos hyn, a ruthrodd yn ddisymmwth ir fann, o'r hwn y deue 'r llais i'n tyb ni: a chwedi chwilio 'r llê eilchwaith ac eilchwaith, fel y gwnaeth eraill o'i flaen ef; ac er nas cawsant hwy ddim yno, etto efe ddychwelodd ir fann lle 'roeddem ni oll, gan ddwyn gydag ef, o'r man lle 'r oedd swn y llais, amryw bethe, ac ym mysc y rheini pottel fechan. Ac ar hyn fe chwarddodd y cythrel ac a ddywedodd wrtho. *Mi glywais ys dyddie mai ffôl oeddyt ti, ac yn awr mi a welaf mai felly 'rwyt ti mewn gwirionedd, pan y credit fy môd i yn y*

*bottel*

*bottel yna : mi fyſſwn fy hunan yn ffôl i ſyned i mewn iddi ; canys felly y gallaſſe un ſy nala i, trwy ſtoppo 'r bottel â'i ſys.*

Ar noſwaith, pan yr oedd *Abraham Lulier* (gof aur) yn dyfod tua 'm ty, lle ni ffaelei a bôd yn gyttredinol; ebr cythrel y pryd hynny, *ewch, agorwch y drws i Lulier, yr hwn ſy'n dyfod* ; ac erbyn hynny yr oedd *Lulier* yn curo wrth y drws. Cyn gynted ac a daeth efe i mewn, fe ddywedodd y cythrel wrtho; ei fod e'n ewyllyſſio dyſcu crefft *euroſ* gantho ; ac y rhoddei fo ddeg coron a deugain, er mwyn cael bod yn *Brentis iddo.* A chan ddywedyd yn dêg wrtho, *Rwi* (ebr cythrel) *yn dy garu di 'n fawr, rwyt ti'n oneſtach gwr na'r cyfryw un,* (gan enwi euroſ arall o *Geneva*) *yr hwn a dwyllodd y cyfryw Arglwyddes o Faſcon, yr hon a aeth i ymweled â rhai o'i cheraint yn Geneva, wrth werthu iddi rai modrwye, meini gwerthfawr, a phlâts.* A phan y dywedodd *Lulier* wrtho; *nid rhaid i mi wrth dy gariad di, 'rwi 'n foddlon a chariad fy Nuw, ac nis cymmeraſi y fath Brentis a thydi* ; fe attebodd y cythrel, *gan na ddyſci di i mi gelfyddyd y gôſ aur, dyſced Mr.* Philbert *fi i fod yn Gannwr lliain.*

Yna gan gymmeryd arno eilchwaith agwedd gwâs, efe achwynodd ei fod e'n dlawd, a bod ei ddillad yn wael, a'i fod e'n ſythu gan anwyd, ac nad oedd ei gyflog ond tair punt yn y flwyddyn : ac os mynnem ni iddo ymadel â ni 'n ebrwydd, fo ddywedodd y dylem ni roi rhyw beth iddo, ac y boddlonei hynny fo. Minne a'i hattebais ef, ei fod e'n curo wrth y cam ddrws, ac na rown iddo gymmeint ac a bariwn oddiwrth fy ngwinedd. Ebe yntef, *nid oes gennych chi wrth hynny ond ychydig iawn o gariad.*

Fe haerodd arnom ni drachefn yn daer iawn, mai nid efe oedd yr hwn y fuaſſe yn y ty o'r dechreuad, ond mai ei wâs ef ydoedd efe ; ië mai nid efe oedd yr hwn y fuaſſe yn y ty y nos o'r blaen ; a bod y pryd hynny un o'i gydweiſion ef yn diſgwyl ; a'i bod hwy ill dau yn edrych

an

am ddychweliad eu meistr o'i shiwrne i *Chambery*, o ba le y dychwelei fo ar fyrrder.

Ac er nas gwn i pu'n a'i 'r Pen-cythrel ei hunan, neu ynte un neu ychwaneg o'i weision ef, oedd yn llefaru wrthym y pryd hynny; etto myfi a glywais oddiwrth dystion credadwy, fod ar yr un amser *Ysp.yd* yn nhy Mr. *Favre*, y Barnwr pennaf o *Chamberey*, (yr hwn am ei wybodaeth yn y gyfraith, oedd wr enwog yn ei oes) a darfod ir y'pryd hwnnw lefaru wrtho, a dywedyd ym mysc pethau eraill, ei ddyfod ef o *Fascon*, a thrammwy o hono trwy *Bresse*, ac iddo weled y cyfryw a'r cyfryw geraint o'i eiddo ef.

I ddychwelyd at yr hyn oedd yn ein ty ni ar yr amser hynny, fe archodd yr ysbryd â llais uchel, i ni wneuthur paratóad mawr o ymborth, megis *Twrcis*, *Petrissiaid*, ysgyfarnogod, a'r cyffelyb, erbyn dyfodiad ei feistr. Yna fe ganodd fagad o ganiade halogedig a masweddol, ac ym mysc eraill yr hon a elwir *lesilen*. Llefarodd hefyd megis ac y gwna Juglers neu Hudolwyr, ac yn enwedig fel Helwyr, gan weiddi 'n groch, *ho levrier*, *ho levrier*, fel y gweiddia 'r Helwyr (yn ffrainge) wrth gyfodi ysgyfarnog.

Gosododd arnom ni â phrofedigaeth i drachwantu golud, (un o gyffredinol demtatiynau *Satan*, ac am hynny y gelwir ef Mammon) gan ymhonni 'n fynych, fod chwe mil o goronau yn guddiedig yn y ty, ac, os byddei neb o honom ni ei ganlyn ef, y dangossei fo, lle 'roedd yr arian wedi guddio. Eithr mi allaf ddywedyd â chydwybod dda, yng wydd Duw a'i Angelion sanctaidd, nas chwiliais i fy hunan, ac nas pennais i, ac nas goddefais i neb arall i ymofyn am danynt, ac nas ewyllyssiais ar un amser i mwynhau hwynt.

Mynnei hefyd ein profi ni â manylrwydd (*curiosity*) gan ddywedyd, os mynnem ni ei weled ef mewn rhith gwr, gwraig, llew, arth, ci, câth, neu 'r cyffelyb, y gwnei fo hynny o ddifyrrwch inni. Eithr ni a ffieiddiasom

asom yn ddirfawr ac a wrthodasom wrando arno yn y matter hwnnw, gan ddywedyd, ein bôd ni cyn belled oddiwrth ddymuno cael ei weled ef mewn un rhyw rith, a bôd o honom ni'n mawr hiraethu, os byddei gydag ewyllys Duw, na chlywem ni ei leferydd ef byth mwyach; a'n bôd ni'n gobeithio y gwaredei Duw ni ar fyrrder oddiwrth ei holl brofedigaethau ef.

Ar y diwedd fe ddechreuodd fod yn ddig iawn, yn gyntaf wrthifi, am i mi ddywedyd wrtho, *Dôs ti felltigedig ir tân tragwyddol, a baratowyd ir Diawl a'i Angelion.* Ac ar hyn ebe yntef, *Ti ddywedi gelwydd: nid wyfi 'n felltigedig; 'rwi etto 'n gobeithio cael iechydwriaeth trwy farwolaeth a dioddefaint Jesu Grist.* Hyn y ddywedodd efe ysgatfydd, i beri i ni gredu, mai enaid gwraig y fu farw ychydig or blaen yn y ty ydoedd efe, merch i wraig y fwriaswm i allan o'r ty trwy gyfraith; canys yr oedd fôn, ddarfod iddi 'hi ar ei therfyn weddio ar Dduw, ar allel o honi, ar ôl ei marwolaeth, ddychwelyd ir ty i'n blino ni.

Dywedodd wrthifi mewn digofaint mawr, y gwnai hyn a'r llall imi; ac ym mysc pethau eraill, fo ddywedodd wrthyf, y dewe fo, pan y byddwn i yn y gwely, i dynnu 'r blancedi oddi arnaf, ac i'm llysgo i wrth fy nhraed allan o'r gwely. Minne a'i hattebais ef, fel yr attebodd y Prophwyd *Dafydd* iw elynion, *Mi orweddaf ac a hunaf, canys yr Arglwydd a wna i mi drigo mewn diogelwch.* Dywedais wrtho fe hefyd y peth y ddywedodd *Crist* wrth *Pilat*, *nid oes genniti ddim awdurdod arnafi, ond yr hyn a roddwyd i ti oddi uchod.* Ac yna fo'm hattebodd i, gan ail-adrodd y geirie hyn ddwywaith tair, *mae hynny 'n dda i ti, mae hynny 'n dda i ti.*

Digiodd hefyd yn ddirfawr wrth un o'r cwmpeini, yr hwn a'i galwase fo y *Bwch Drewllyd*, a rhoddodd iddo lawer o ddrwg eirie, megis y rhain, *Ti fynnit ymddangos fel gwr da, ond nid wyt ti ond rhagrithiwr: rwyt ti'n myned yn fynych i Bont-deville, mewn lliw i wrando pregethe: eithr wrth fyned rwyt i'n dwyn gyda thi dy flwch fydd a'th fi-*

*e a'th sande yntho, er mwyn gosyn dy ddyledion a llôg dy arian Ymaith â thi, ni wneit ti ddim cydwybod o grogi dyn am bunt fel y gwna Mr* Denis; a Hangman *Mascon* oedd y *Denis* hwnnw. Ac yna gan wneuthur swm, mal pettaise 'n curo ei ddwylo ynghyd, fe ddywedodd eilchwaith wrth yr un gwr; *'rwyt ti 'n cymmeryd arnati yma, fel pettai ti'n wr glew, wedi dwyn yn awr dy gleddyf gyda thi: eithr or byddi di mor galonnog, a dwad hyd yma heb oleu, fe geit gweled pu'n o honom ni 'n dau sydd wrola.*

Gwedi dywedyd yr holl bethe hyn am yr amser cynt a phresennol, fe fynne fynegi peth hefyd am yr amser i ddyfod. A chan grybwyll am y Protestantiaid yn nheyrnas *ffrainge*, fe waeddodd un-waith, *O'r Hugonots truain, chwi a ddioddefwch lawer o fewn ychydig o flynyddoedd! o pa fath darwg y fwriedir yn eich herbyn chwi! gydag ychwaneg o eiriau i'r un pwrpas.*

Dywedodd ddwy waith neu dair am fy ngwraig, yr hon oedd yn feichiog, ac yn agos iw thymp, y bydde iddi ferch. Mi ofnais o herwydd y cyffwr yr oedd hi yntho, y cei hi ryw niwed wrth escori, trwy ddychryndod oddiwrth ein lletteywr uffernol; ac am hynny mi attolygais arni i adel y ty, ac i fyned at ei mam-gû, yr Arglwyddes *Philiberta de la Musiere*, gyda 'r hon y meithrinwyd hi er yn blentyn, ac felly i orwedd i mewn yn ei thi hi. Eithr hi a escusododd ei hunan oddiwrth hynny yn wrol iawn, gan ddywedyd, y bydde ei mynediad hi ymaith yn anhyder ar allu a thrugaredd Duw: a chan ryngu bôdd i Dduw, i ymweled â ni, felly y gallei fo'n gorddiwes ni yn yr un môdd mewn ty arall; *ac nas dylem ni gilio ymaith, pan mynnwn ni wrthwynebu 'r Diawl.* Ac yn wir 'rwi 'n cyfaddef, farnu o honi 'n union yn hynny o beth; canys fe 'n cynghorir ni'n fynych yn y fcrythur, i wrthwynebu, ac i ymladd, ac i ymdrechu â'r Cythrael, ond nid byth i ffoi oi flaen ef; canys hynny fyddei rhoddi 'r oruchafiaeth iddo: oblegit tebyg ydyw fo ir *Blaidd*, ac ir *Crocodil*, y rhai y giliant ymaith os sefwch chwi 'n galonnog yn eu herbyn; eithr os ofnwch hwynt, a throi oddiwrthynt, hwy a redant ar eich hôl chwi.

Ar ryw noswaith fe ddywedodd y Diawl yngwydd pawb, y byddwn i marw 'n ddilys cyn pen tair blynedd, gan dybied

trwy hynny i'm poeni i â meddylie gwastadol am farwolaeth, ac felly peri i mi syrthio (pe gallasai) i ryw drwmder calon, ac felly i glefyd, er mwyn gwirio ei eiriau ef. Eithr mi a'i hattebais ef yng eirie St. *Paul*, *Act.* 20. *Nid wyf yn gwneuthur cyfrif o ddim, ac nid gwerthfawr gennif fy einioes fy hun, os gallaf orphen fy ngyrfa trwy lawenydd, ar weinidogaeth a dderbynniais gan yr Arglwydd Iesu, i dystiolaethu Efengyl grâs Duw.*

Gwedi arfer yr holl ddichellion hyn yn ein herbyn, fe orsu ar y cythrel gyfaddef, nas gallei fo mo'n gorchfygu ni, oblegit ein bod ni 'n galw 'n rhy fynych ar enw Duw. Ac i ddangos grym ein gweddiau, y mae hyn yn wirionedd iw ddal sulw arno, yr ymattalie 'r Diawl oddiwrth lefaru, bob amser ac y gwelei fo ni yn dechreu pen-linio i fyned i weddio; ac yn dra mynych fo ddywedodd wrthym ni y geirie hyn, *Tra fo chi 'n gweddio, mysi âf, ac a rodiaf ar yr heol.* Ac yn ddiau ni gaen ddiiftawrwydd rhyfeddol, tros yr ennyd yr oeddem yn gweddio, p'un bynnag a'i myned allan, a'i aros yn y lle y wnai fo: eithr cyn gynted ac y darfydde 'r weddi, fo ddechreue eilchwaith i'n cymmell a'n hannog ni megis o'r blaen, i siarad ag ef: Ac fo barhaodd felly i lefaru wrthym ni, ac i'n hannog ninne i lefaru wrtho yntef, hyd y 25 o fîs Tachwedd, pan y llefarodd efe y geirie hyn yn ddiweddaf: *Ha, ha, je ne parleray plus,* hynny yw, *och! och! ni chafi lefaru mwyach.* Ac oddiar y pryd hynny, efe a beidiodd, ac ni lefarodd efe ym-mhellach.

Mi allwn chwanegu at hyn lawer o ymadroddion eraill, ac y lefarodd y cythrel hwn; ond 'rwi 'n cyfaddef, fy môd i yn ymattal o bwrpas oddiwrth eu traethu hwynt; oblegit eu bod nhwy yn wrthwyneb, naill ai i Grefydd, neu ynte ir Awdurdodau goruchel, neu i enw da rhai gwyr mawrion a Theuluoedd anrhydeddus; neu oblegit eu bôd nhwy 'n fudr ac yn anweddus, megis pethau yn dyfod oddiwrth yspryd aflan. Y mae cymmeint

meint ac y draethasom yn ddigonol i ddangos, mor ddieithr a rhyfeddol ydoedd ymadroddion y cythrel.

Megis yr oedd ei eiriau ef yn ddieithr ac yn rhyfeddol, felly 'roedd ei weithrediadau ef; canys heb-law y perhe a adroddais i, ac a wnawd yn fy absen, fo wnaeth lawer ychwaneg o'r un rhyw; megis taflu o bobtu yn dra mynych ddarn mawr o liain, o ddeng el a deugain o hyd, yr hwn a adawse ffrind i mi yn fy nhy, iw ddanfon i *Lyons* ar hyd y Dwr.

Fe gipiodd unwaith ganhwyllbren prês o law 'r forwyn, gan adael y ganwyll wedi hennyn yn ei llaw hi. Fo gymmerei 'n fynych iawn beisie 'r forwyn honno, ac a'i crogei nhw ar byst y gwely, gan osod arnynt hwy Hatt arw, y cyfryw ac y mae gwragedd gwledig o *Bresse* yn arferol o wisco, canys o'r wlâd honno yr hanoedd hi.

Weithie fe grogei Blât startshio o faint mawr ar y pyst hynny, wrth gorde, wedi clymmu felly, ac â chynifer o glymme, ac yr ydoedd yn ammhossibl i dattod hwynt; ac etto fo'i dattodei nhwy ei hunan yn ddisymmwyth ac yn ebrwydd. Unwaith mi gefais fy motasse gwedi eu drysu mewn lle, fel nad allit eu tynnu nhw oddi yno. A llawer gwaith y plethodd efe radish ynghyd yn y fath fodd, ac nad ellit gwneuthur y cyffelyb beth, oni roddei ddyn ei fryd ar hynny pan bae 'n segur gyda llawer o hir amynedd.

Ar ryw brydnawn-gwaith daeth ffrind i mi, un M[illegible] *Conain*, pysygwr o *Fascon*, i ymweled â ni; ac fe[illegible] oeddwn i yn adrodd wrtho ef y pethau rhyfeddol hyn, ni aethom ynghyd ir stafell, lle yr oedd y Diafol fynychaf yn aros: yno y cowsom ni y gwely [illegible], y blancedi, y llanlleine ar gobennydd wedi eu gosod i gyd ar y llawr. Yna y gelwais i ar y forwyn i dannu'r gwely, ac hi a wnaeth hynny yn ein gwydd ni; eithr allan o law, a ni yn rhodio yn yr un stafell, ni welem y gwely wedi ei syscu, a'i daflu i lawr fel o'r blaen.

Yn y stafell uwch ben honno, lle yr ydoedd fy study, mi gefais lawer gwaith rai o'm llyfre gwedi eu gosod ar y llawr ynghyd â'm howr-glass heb ei dorri, heb ddim niwed ond hynny. Fel yr oeddwn i unwaith yn eistedd yn fy study, fe wnaeth y Cythrael swn yn y stafell uwch benn, megis swn ergydion llawer o fwscedi. Weithie fe fydde fel Ostler yn fy stabal, yn trîn ac yn rhwbio fy ngheffyl, gan blethu ei gynffon a'i fwng ef; ond nid oedd efe ond anfedrus yn ei waith, canys mi gefais fy ngheffyl unwaith gwedi ei gyfrwyo gantho, â'r crwpper ym-mlaen, a'r pwmel yn ôl.

Fe fu 'n hîr yn y ty cyn y gallasom ni ddeall ei fod e'n cyrchu im stafell wely. Eithr ar ryw nosweith, ar ôl myned o bawb ymaith ac a ddaethasant i wrando arno, a myfi fy hun a'm teuly i gyd yn ein gwelâu, a drysau a ffenestri 'r ty gwedi eu caead yn glos iawn, fo ddaeth i mewn, ac a ddechreuodd chwibanu yn araf, a hynny ar droion, megis a phettaise ofn arno i'n deffroi ni. Ac fe gurodd megis ac â'i fys ar drwngc yn agos i'm gwely, fel y gwnaeth e'n fynych gwedyn. Fe daflei 'n 'scidie ni o dautu 'r stafell, yn enwedig eiddo 'r forwyn, yr hon, wrth ei glywed ef unwaith yn cymmeryd un oi 'scidie hi, a ymaflodd yn ebrwydd yn y llall, ac a ddywedodd dan wenu, *ni chei di mo hon.* Ac unwaith yn yr un stafell dan y bwrdd, fo ddilynodd drwst Trin-wyr cywarch, y rhai fydd bedwar ynghyd yn curo 'r cywarch, y cyfryw ac oeddynt yn ein cymdogaeth ni, ac fo gadwodd yr unrhyw fessur ag hwynthwy yn gymmwys.

Dros hir amser fo wnaeth i ni glywed pereidd-gân dwy gloch fychan, wedi eu clymmu ynghyd, y rhai y gymmerasse fe o fysc rhyw hairnach rhwdlyd yn fy nhy. Pan y clywais i nhw gyntaf, mi adnabum wrth eu swn hwy, mai myfi ai piodd hwynt: Mi aethym ir fann lle y gosodais i hwynt, ond nis cefais

cesais i mo honynt. Nid yn fy nhy i yn unig yr arferodd y Cythrel ganu y clych hyn, ond efe ai dygodd hwynt o amgylch i sagad o leoedd yn y Drêf ac yn y wlâd. Ar ryw Sabboth y bore, a mysi yn myned i wenidogaethu yn *Vrigny*, gyda rhai o Henuriaid fy Eglwys, ni glywsom swn y clych hyn yn agos iawn i'n clustie. Dywedodd Mr. *Lulier* un o'n cwmpeini wrthif, glywed o hono fo yn ei dy ef y clych hyn yn fynych. Bagad eraill a'u clywsant hwy yn agos iawn iddynt, eithr nis gallent ar un amser moi gweled hwynt.

Ac ni chwareuodd y Diafol hwnnw ei gaste yn unic yn fy nhy i; canys fe adroddodd Mr. *Lulier* wrthif lawer o'i weithrediadau ef yn ei dy a'i shop yntef; megis ei waith ef yn cymmeryd ac yn cuddio ei feini gwerthfawr ai offerynnau gwaith ef, ac yna ei gosod hwynt drachefn lle yr oeddynt o'r blaen. Tra 'r ydoedd Mr. *Lulier* yn adrodd hyn wrthisi, efe a osododd fodrwy aur, yr hon oedd y pryd hynny gantho tan law, ar y bwrdd, ynghyd a'r offeryn a'r hwn yr oedd yn ei dala hi: eithr yn y man fo'i cafodd hwy 'n eisie, ac a chwiliodd am danynt tros hanner awr, ond i gyd yn ofer; ac am hynny efe a gymmerodd waith arall yn llaw; a chwedyn, efe a minne a welsom y fodrwy a'r offeryn yn Syrthio drachefn ar y bwrdd, ond ni wyddem ni o ba le.

Ar ryw noswaith, pan nas gwiliadodd *Lulier* gyda ni, fel yr arferei o wneuthur, Dau ac a ddaethant yn hwyr iawn o'm ty i, a arosasant wrth shop *Lulier*, i roddi cyfrif iddo am weithrediau a geirie y cythrel y noson honno: Tra 'r oeddynt hwy yn siarad, fe gurodd y Cythrel ynghylch teir gwaith yn galed iawn ar Dô o astyllod, yr hwn oedd uwch ben y shiop. Y noswaith nessaf ar ôl honno, *Lulier* a *Repay* wrth ddychwelyd o'm ty i, a gafsyddent wraig unic, wrth gongl yr heol yn nyddu wrth oleu'r

 lleuad

lleuad, mewn gwisc wledig: ond hi ddifannodd allan o'i g[illegible] rhwy, pan nessausant i geisio gwybod pwy 'n ydoedd hi.

Gan adel yr-wan y cyfryw weithrediade ac a wnaeth y Diafol allan o'm ty i, megis pethe nas gallaf lefaru am danynt gyda 'r fath sicrwydd, ac am y rhai y welais ac a glywais i fy hunan: Ni wnaf i ond adrodd ei weithrediadau diweddaf ef yn fy nhy i: ac yn wir y rhai blinaf o'r cwbl (fel y dywedant fod y Diafol bob amser yn greulonach ar y diwedd nag ar y dechre, ac ar y pryd hynny yn ffyrnicaf, pan y gorfydd arno ymado) canys tros ysbaid [illegible] deuddeng niwrnod diweddaf, fo daflodd gerrig yn ddibaid o bobtu 'm ty, o'r bore hyd yr hwyr, a hynny yn aml iawn, a rhai o honynt yn pwyso dwy neu dair pwys.

Ar un o'r dyddie diweddaf hyn, fe ddaeth Mr. *Tornus* i'm ty ynghylch hanner dydd, ac a fynnei wybod a oedd y Cythrel yno fyth, ac a chwibanodd mewn amryw dônau, a phôb tô fe chwibanei 'r Diafol yno yntef dracheSn â'r un rhyw dôn. Yna y taflodd y Diafol garreg atto; yr hon wedi ferthio wrth ei droed ef, heb wneuthur iddo niwed, fo'i cymmerodd hi 'fyny, ac a'i nododd hi â glôvn, ac ai taflodd ir tu cefn ŷ ty, yr hwn oedd agos i wal y Dref, ac ir afon *Savone*: eithr fe daflodd y Diafol hi i fynu drachefn atto yntef; ac efe adnabu wrth nôd y glôvn, mai yr un garreg ydoedd hi. Mr. *Tornus* wedi cyfodi 'r garreg honno i fynu, a glywe hi yn dwymo iawn, ac a ddywedodd ei fod e'n credu, ei bod hi yn ufferng wedi ei bod hi yn ei law ef o'r blaen.

O'r diwedd, ar ôl yr holl eiriei a'r gweithredoedde hyn, fe aeth y Cythrel ymaith y 22 o fis Rhagfyr; ar dydd nessaf gwelwyd Gwiber fawr iawn yn myned allan o'm ty, yr hon a ddaliwyd â chraffe hirion gan rai Gwneuthurwyr hoelion neu Gymmydogion; ac hwy a'i dygasant hi ar hyd yr holl dref dan weiddi, *Dymma'r Cythrel y ddaeth allan o Dy'r Gwenidog*: ac ar y diwedd hwy a'i

gadaw-

gadawsant hi yn nhy un *William Clark* Apothecary, lle yr adnabyddwyd mai gwiber naturiol ydoedd hi, Sarph anghynnefin yn y wlâd honno.

Dros yr holl amser y bu 'r Diawl yn cyrchu i'm ty, nis goddefodd Duw iddo wneuthur i ni niwed yn y byd, nac yn ein persone, nac yn ein meddianne. Y dydd yr ymadawod efe â'r ty, fo grogodd y clych hynny, y rhai y ganasse, ac y ddygasse efe mor fynych o amgylch, ar hoel uwch ben ffimnai 'r stafell lle 'roedd e'n cynniweir fynychaf.

Ni channiatawyd iddo gymmeint o allu, ac i rwygo un o'm llyfrau, nac i dorri un glass, nac i ddiffodd y ganwyll, yr hon a adawem ni i losci trwy 'r nôs. Ac am hynny 'rwyfi 'n plygu 'nglinie, ac a wnaf felly tra fwi byw, im grasusol Dduw, i roddi iddo Ddiolch am y mawr Drugaredd hwnnw.

Dymma 'r gwir a'r digym mysg draethiaid o eirie a gweithrediade y Cythrel hwnnw. Ac y mae *Marcellin* un o Offeiriaid y papistiaid, yr hwn oedd yn pregethu ym *Mascon* ar yr amser hynny, wedi adrodd llawer o'r pethau hyn yn gywir ddigon, mewn llysr o'i eiddo ef, a brintiwyd yn *Grenable* yn erbyn Mr. *Beuterove*, gan ddywedyd gael o hono 'r stori oddiwrth amryw ddynion, ond yn enwedig oddiwrth Mr. *Fovillard* Liffcenant Generall yn y *Balliage* o *Fascon*, yr hwn wedi clywed y Sôn gyffredinol ynghylch y digwyddiad rhyfeddol hyn, a ddanfonodd ei frawd yn y gyfraith Mr. *Ffrancis Grucin* a Mr. *Guichard*, Gwr o gyfraith i'm ty, i ddeisyf arnai ddyfod atto ef, i fynegi 'r holl fatter iddo, yr hyn beth a wneuthum i. Etto (trwy gennad *Marcellin*) nid gwir yw hynny, (ac y mae efe, ac eraill gwyr tanbaid sy'n barnu cyn llwyr wrando, yn ei gasglu oddiwrth hyn, i'm gwradwyddo i a'm proffes) fef, bod cyfeillgarwch rhyngofi ag ysprydion drwg. Canys y mae Duw yn Dyst ar fyng-hydwybod, na bu rhyngofi erioed gydymddaiddan â'r creaduriaid echrydus hyn, ac nas gwn i fwy

oddi-

oddiwrthynt, nag y ryngodd bôdd iw dduwiol ddoethineb ef i adel i mi wybod allan o'i Air, ac o'r profiad hyn yn fy nhy. Ac fe wyr Duw, mai fyng ofal pennaf i ydoedd, ar ir Dalent fechan honno gynnyddu, yr hon a roddes Duw i mi, i hyfforddi fy hunan ac eraill, yn y wir a'r iachus ddyſgeidiaeth ynghylch iechydwriaeth dragwyddol, yr hyn ydyw, i adnabod ef yr unic wir Dduw, a Ieſu Griſt yr hwn a ddanfonodd efe.

Ac yn wir, yn y matter hyn, y mae *Marcellin* ac eraill, y rhai a adroddaſant ac a ſcrifennaſant y ſtori hon er Anglod i mi, yn gwrth-ddywedyd Mr. *Fſovillard* Lifftenant Generall o *Faſcon*, a'r Arglwydd *Gaſpard Divet* Eſcob *Maſcon*, yr hwn, ar y Sôn gyffredin ynghylch y pethau hyn, a ddanfonodd am Mr. *Tornus*, i gael gwybodaeth o'r gwirionedd am danynt: ac er mwyn mwy o ſiccrwydd, fe anfonodd ei ſcrifennydd ei hun Mr. *Chamber*, iw dyſgu hwynt yn neilltuol o'm genau fy hun; ac mi a adroddais y cwbl wrtho ef, heb gelu na chuddio dim. Ac fe ddywedodd y ddau wr bonheddig hyn, *Tornus* a *Chamber* wrthifi ar ol hynny, ddarfod ir Eſcob ryfeddu 'n ddirfawr wrth wrando 'r ſtori honno, a gwneuthur o hono ryw atgoffa o honi mewn ſcrifen.

Yn awr os gofyn neb i mi, pa beth a allei fod yr achos o'r ddamwain rhyfeddol hyn (canys nid oes dim yn fwy cyffredinol a naturiol i bôb dyn, nag ymofyn am yr achoſion, yn enwedig o bethau anarferol) mi attebaf, wrth yſtyried gogylchiadau 'r amſer, a'r lle, a'r bobl yr oeddwn i yn delio ag hwynt y pryd hynny, fod llawer o achoſion (mewn tybygoliaeth) yn cydfod am y peth.

Yn gyntaf, yn gymmeint a bod amſeroedd, yn y rhai y mae 'r cythreuliaid megis heb eu cadwyno, ac â mwy o rydd-did ganthynt i arferu eu dichellion; a bod amſeroedd eraill pan y maent wedi eu rhwymo i mewn, a'u hattal rhag gwneuthur drwg, megis y gwelwn yn yr 20. o'r *Datcuddiad*; fe allei un yn wir, gyda rheſwm da ddywedyd, pan y bu'r Diawl mor eon yn fy nhy i, fod y cythreuliaid

[c]threuliaid ar yr amser hwnnw megis wedi eu gollwng yn hydd; canys yr oedd y Byd y pryd hynny yn llawn o histoiriau, ynghylch castie anarferol yr ysprydion drwg hyn.

Gellir gwirio hyn wrth lyfr y scrifennodd Mr. *de l' Ancre*, un o Gynghorwyr y Brenin, wedi uno mewn commissiwn gyda Mr. *D. Espagnet* y Barnwr pennaf yn *Tolosa*, i farnu 'r Witshod o wlad *Labour* neu wlad y *Basques*, yn agos ir *Pyreniau* fynyddoedd. Enw 'r Llyfr yw, *Eglurhaad ynghylch anwadalwch cythreuliaid ac ysprydion drwg*, lle y gosodir allan y fath bethau dieithr ac echrydus, ac a ddichon beri gwallt y Darllenwyr i sefyll ar eu pennau.

Angwhanegwch at hyn y stori ofnadwy ynghylch *Lewis Gauffredi*, offeiriad o *Marseilles*, un o'r offerynnau mwyaf o eiddo 'r Diawl ac a ddygodd uffern erioed allan, yr hwn a loscwyd ychydig o'r blaen trwy ordinhaad y Parliament o *Aix yn Province*.

Ar yr un amser yr ymddangosodd *Cythrael* yn *Lyons*, mewn agwedd gwraig fonheddig lân, i *Lifftenant Marchog y Wiliadwriaeth*, henw yr hwn oedd *la Jaquere*, ac i ddau eraill o'i gyfeillion ef; A gorweddodd y Tri hyn gyda 'r Cythrel hwnnw, ac a ddaethant trwy hynny i ddiwedd ofnadwy iawn. Y mae 'r stori honno yn brintiedig ym-mysc llawer o Historiau aruthrol o'n hamser ni.

Ar yr un amser, sef, yn y flwyddyn 1612. fe osodwyd allan y cyffelyb stori ir honno o *Lyons*, fel y bu Gwr cyfrifol ym *Mharis*, ar y cyntaf o fis *Ionawr* yn y flwyddyn honno, yn cyttal ac yn aros gyda *Chythrael*, yr hwn a ymddangosodd iddo megis Arglwyddes brydferth: eithr y borau nessaf, gwedi i rai Jestysiaid a Physygwyr weled yr Arglwyddes honno, fe adnabuwyd, mai Corph Gwraig ydoedd hi, yr hon a grogwyd ychydig o ddyddiau o'r blaen.

Ynghylch yr un pryd, yr oedd Carcharau *Mascon* wedi ei llenwi â nifer fawr o wyr a gwragedd, ifaingc [a]c hên o Bentref *Chassellas*, a Threfydd eraill ger

llaw

llaw iddi, wedi eu inlittio i gyd am ſwyngyfaredd neu witſhio, y rhai gwedi eu bwrw a'u condemnio ym *Maſcon*, a gyfodaſant eu matter, i Barliament *Paris*, a hwy a hebryngwyd yno gan Swyddog a rhai gwyr arfog. Ar y ffordd fe gyfarfu *Coatſh* â hwynt, ac yntho Wr yn edrych fel *Barnwr*; yr hwnnw a ſafodd, ac a ofynnodd ir ſwyddog, pa garcharorion yr oedd efe yn ei arwain, ac i ba le yr oeddynt yn dyfod, ac i ba le yr oeddynt yn myned. Gwedi ir Swyddog ei atteb ef: y Gwr (os felly y gellir ei alw ef) gan edrych ar y carcharorion, a ddywedodd wrth un o honynt, gan ei alw ef wrth ei enw, Beth ynawr? a wyt ti yn un o honynt hwy? nac ofna ddim canys ni ddioddefi di, nac un o'th gwmpeini. A gwir y prwfiodd ei eiriau ef, canys o fewn ychydig ar ôl hyn ny fe'i rhyddhawyd hwynt oll.

Ar yr un amſer llangces fechan o *Faſcon*, ynghylch tair neu bedair ar ddeg oed, merch i un o'r Dinaſyddion pennaf o'r Drêf, yr hon a orweddei gyda morwyn o'r Ty, a ddeallodd ei bod hi yn fynych iawn yn abſennu ei hun yn y nôs; ac a ofynnodd iddi unwaith, o ba le y daeth hi; fe attebodd y forwyn, ddyfod o honi o fan lle yr oedd cwmpeini da, a dawnſio rhagorol, a phôb mâth o ddifyrwch a llawenydd. Yna y llangces, wedi blaſſu ar y newydd hyn, a ddymunodd ar y Forwyn i dwyn hithe ir lle hwnnw. Ar hyn fe enneiniodd y forwyn hi, gan beri iddi arfer y defodau cyffredin a orchymynnir gan Ddiafol i witſhod. Yna y cippiwyd y llangces i fynu ir Awyr gan Gythrael, mal ac yr adroddodd hi gwedyn. Ond pan wybu hi ei bod goruwch Mynachlog y *Capuchin* Offeiriaid, hi a frawychodd ac a alwodd ar Dduw, yr hwn a'i cynnorthwyodd hi, ac a wnaeth i'r Cythrel i dodi hi ar lawr yn ei gardd hwynt, ynghylch hanner nôs. Y Capuchiaid, pan y clywſant ei llêf wylofus, a ddaethant iw helpu hi: A phan y dywedodd hi wrthynt pwy 'n oedd hi, a pha beth a ddigwyddaſſe iddi, Dau o honynt a'i hebryngaſant hi yn ddirgel

gel i Dŷ ei Thâd. Myfi a glywais lawer oedd yn ficcrháu gwirionedd y matter hyn megis peth dilys. Myfi a welais y llangces honno yn fynych, a chlywais gwedyn ei bod hi 'n briod.

Ar y pryd hynny hefyd y dwedpwyd yn rhygil, fod rhyw Gythrael yn cyrchu 'n fynych i Dy Pobyddes ym *Mascon*, yn yr heol *de la Tapinerie*, mewn agwedd Gwr, a chap côch ar ei ben, ac fo edrychei allan trwy 'r ffenestr wrth olau 'r Gannaid. Fe adroddodd bagad wrthifi fod hyn yn wir iawn, ac *Abraham Lullier* a enwyd o'r blaen oed 'un o honynt. Ac nis gwn i a ymadawodd y Cythrel â'r ty hwnnw etto, er cymmaint o Gonfuriaeth ac o foddion eraill hefyd a arferwyd iw fwrw ef allan.

Ar yr un amser fe gadwodd rhyw Ddiawl ftwr fawr yn Eglwys Saint *Stephan* ym *Mascon*, gan ddadymchwelyd amryw Feddau: a chwedi cyhoeddi 'r peth o dautu 'r Drêf, myfi a welais, (gan fy môd yn trigo yn y gymdogaeth honno) ran fawr o'r bobl yn ymgafglu yno. Y cyffelyb beth hefyd a ddigwyddodd yn Eglwys Saint *Alban*, yn agos i *Mascon*, ar yr un amser.

Drachefn, ar yr amser hynny y cyrchodd rhyw Ddiawl i Dy gwraig weddw ym *Marigny les Nonnains*, yn gyfagos i *Fascon*, dros dri mîs, lle y gwnaeth e lawer o ddrwg, gan ollwng ar redeg y gwîn yn y feler. Ac fo bwyodd amryw ddynion yn greulon, ac ym myfc eraill rhyw Of a wnai gloyon, yr hwn a ddaeth ir Ty yn feddw, ac a roddodd lawer o ddrwg eiriau a bygwthion ir Cythrael hwnnw, yr hwn yn ddioed a fu cwitt ag efo; canys fe gymmerodd un o'r Andirwns (fef offeryn o'r fimnai) ac ai curodd e'n dôft ag ef, hyd oni redodd e ymmaith allan o'r Ty yn gyflym. Wrth y ftoriau hyn ac amryw o'r un fath (am ba rai ni fonniaf yr-wan) y mae 'n eglur, pan yr oedd Cythrael yn fy nhy i, fod y Diawl y pryd hynny megis heb ei gadwyno.

Rwi 'n tybied hefyd, y gallei 'r Cythrel hwn gael o

ddanfo

ddanſon attaſi, gan rai ac oeddynt yn llidiog i'm herbyn, am i mi gael trwy ymbil Gennad gan y Brenin, i adeiladu Eglwys, i'n Proteſtantiaid ni, yn agos i furiau *Maſcon*; o herwydd ynghorph y Dydd hwnnw, ac y dechreuodd y Diawl yr afreolaeth hynny yn fy nhy i, fe'm bygwthwyd gan un, ger bron cymmanfa y Bwrdeiſiaid o *Faſcon*, *y byddei ar ſyrder i rywun ddewg fy ngorddiwes i.* A lletdybiwyd fod y Dyn hwnnw yn ddiſcybl i un *Ceſar* ſwynwr hynod, y ſuaſſe byw ym *Maſcon* ychydig o'r blaen.

Llawer a ſwriaſant ddyfodiad y Diafol hwnnw i'm Ty i, ar fy morwyn *Breſſande*, (am yr hon y crybwyllais i o'r blaen) oblegit yr oeddynt yn tybied ei bod hi 'n Ddewines neu *Wiſh*; Canys fe ddywede rhai, fodys yn bwrw fod ei Rhieni hi yn euog o ſwyn-gyfaredd. 'Rwi 'n coſio iddi ofyn i mi unwaith, a ydoedd boſſibl i neb o'r rheini, ac a ymroddaſant eu hunain ir Diafol, gael trugaredd oddiwrth Dduw. Ac ar amſer arall, pan y gwelodd hi fy mod i 'n ofni, rhag ir Diawl wneuthur niwed i ddau langc, y rhai a orweddynt yn y ſtafell neſſaf ir hon, lle y clybuwyd ef ynthi, Hi a ddywedodd wrthif; *Nac ofnwch, Ni wna fo ddim niwed iddynt*: A gwir ydyw, y cellweirie ac y bydde hi gyfeillgar ag ef: canys heb-law 'r peth a ddywedais i o'r blaen ynghylch hyn, hi a feiodd yr *Yſpryd* unwaith, am na ddaethaſſe fe â choed iddi, ac ar hynny, yn ddiaros, fe a daflodd i lawr iddi goeled o goed wrth droed y ſtâr. Ac ar ei gwaith hi'n cynnig gadel ein gwaſanaeth ni, daeth un arall i'n gwaſnaethu yn ei lle hi, ac a orweddodd yn yr un gwely gyda hi: A'r Diawl, er nis gwnaeth niwed iddi hi erioed, etto a gurei 'r forwyn newydd yn y gwely, ac a dywallte ddwr ar ei phen hi, hyd oni orſu erni ſyned ymmaith.

A chynnyddodd fy nrwg dyb i am y Breſſande honno trwy adroddiad a wnaeth hi wrthiſ, ar ddiwrnod yr oeddwn yn glâf, am wr dû mawr, yr hwn a ymddan-

goſſaſe iddi hi y nos o'r blaen wrth olau 'r lloer, yn dala phiol yn ei law fel Phyſygwr. Hyn ynghyd a pethau eraill o'r fath, a weithiodd ynofi Dyb caled am dani, megis un ac a allei fod yn achos ymmyſc eraill, o ddyfodiad y lletteywr uffernol hynny attom.

Goſodwch at hyn amgylchiad y lle, canys fe wnaethpwyd gynt lanaſdra yn yr un Ty, os gellir coelio geiriau 'r Cythrael a'r Sain gyffredin. Ac nid ydyw yn beth anarferol, fod y Diafol yn mynych gynniweir i dai, lle y gwnaethpwyd rhyw loſruddiaeth, neu ryw weithred ffieidd arall. Y mae *Cardan* yn mynegi, fod Caſtell ym *Mharma*, yn perthyn i deuly anrhydeddus y *Torelli*; ac yn un o'r ſimnie yntho, fod yſpryd drwg yn ymddangos, mewn dull hen wraig hagr, pa bryd bynnag y byddei un o'r Teulu farw, er yr amſer ac y lladdwyd hên wraig dra goludog yn y Ty hwnnw, trwy drachwant ei Neiaint hi, y rhai a'i drylliaſant hi 'n ddarne, ac ai taflaſant ir gaudy.

Eithr yr achos tybygolaf yw hyn, ſef, ar ôl i mi ennill y Ty hynny trwy ordor cyfraith, a'm dodi mewn goreſcyn o hono trwy awdurdod cyfiawn, fe gaſwyd y wraig, yr hon y ddaethym i iw bwrw allan o'r Ty, dan y Simnai yn galw ar y Diawl, ac yn bytheirio allan regfeyd i echryſlawn yn ſy erbyn i a'm teulu, gan ddywedyd, *a clywei hi ar ei chalon fod yn fodlon i gymmeryd ei chrogi, ie cymmeryd ei damnio, a bod ynghwaelod uffern gyda 'r holl Gythreuliaid, pe galle hi ond ymddial arnafi a'm heiddo.* A phan dwetpwyd y geiriau hyn wrthif, myfi a ddygais Betiſhwn yn ei herbyn hi at Farnwr *Maſcon*, ac efe a rwymodd y wraig ir *Good Behaviour*, gan wahardd iddi wneuthur niwed i neb o honom ni, nac yn ein Perſonau, nac yn ein Dâ, dan boen fforffetion mawr: a dodwyd fi a'm Teulu dan amddiffynniad y Brenin a'r Gyfraith: Ac yr wyfi 'n cadw fyth gyda mi Ordinhadau y Barnwr yn y matter hyn.

Eithr heb sefyll yn hwy ar yr ail Achosion, rwi cyfrif y cwbl i drefniad yr Achos cyntaf, gan dderchafu fyng olygon tuagat y llaw a'm tarawodd i, yr hwn a gyd ddangossodd ei nerth yn fyng wendid i, ei drugaredd yn fy nhrossedd i, a'i ddoeth, arafaidd, a rhyfeddol weithrediadau tuag attafi; oblegit nas goddefodd fy nhemptio tu-hwnt i'm gallu, eithr a wnaeth ynghyd â'r brofedigaeth ffordd i mi ddyfod allan, fel y gallwn ei dwyn hi.

Y mae gennif Achos mawr i ddywedyd gyda 'r Brenhinol Brophwyd Dafydd, *Ein henaid a ddiangodd fel Aderyn o fagl yr Adarwyr; y Fagl a dorrwyd, a ninne a ddianghasom: Ein porth ni sydd yn enw 'r Arglwydd, yr hwn a wnaeth Nefoedd a Daiar.* Iddo ef am hynny y byddo 'r Gogoniant yn awr ac yn dragywydd. *Amen.*